# GOLWG

AR Y

# BYD,

YN CYNNWYS

## BRIWSION ODDIAR FYRDDAU

Y

## DYSGEDIGION,

AC YN DANGOS

*GALLU, DOETHINEB, A DAIONI DUW,*

A

DYLED DYN YN Y CREADIGAETH,

GAN Y PARCH. D. LEWYS, FICAR LLANGATWG, YN MORGANWG.

JOB XXXVII. 14.

*Gwrando hyn Job,: saf ac ystyria ryfeddodau Duw.*

SALM LXXVII. 12.

*Myfyriaf hefyd ar dy holl waith; ac am dy weithredoedd y chwedleuaf.*

LLANRWST:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. JONES.

1825.

# At y Darllenydd.

Y CYMRY ANWYL,

*MI Dybiais y byddai hoff genych glywed son yn Gymraeg am ryfeddodau Duw yn y creadigaeth, ac am hyny mi gymerais boen, ond eto gyda llawer o foddlonrwydd, i gasglu ynghyd o waith y dysgedigion diweddaraf a hynotaf, yn enwedigol y dysgedig Dr. Nieuwentyt, a'r Parchedig Mr. Derham, y pethau mawrion ag y maent hwy wedi eu deall yn nghylch gweithredoedd Duw, ac a wnaethum ddefnyddiau a chasgliadau bucheddol oddiwrth y cwbl. Y rhai hyny ag na bydd y llyfr yn gymeradwy ganddynt, nid oes gyngor gwell nag iddynt ei adael yn llonydd. Wrth y neb a fo am farnu a chablu, hyn a ddywedaf, Na farned nes dyall, dyalled a barned. Y mae amryw yn cablu yr hyn ni wyddant, ac yn cyfarth yr hyn ni ddyallant, fel y wraig oedd yn beio ac yn cablu'r mêl, am nas gallai ei gyrraedd. Gwn y bydd llawer o rai anneallgar yn anghoelio amryw bethau gan eu rhyf-*

*eddod, megis y gall ffrwyth un hedyn mwstard o'i hau yn wastadol, a mil yn dyfod oddiwrth bob un, fod mewn ugain mlynedd yn fwy na llonaid y byd o'r ddaear i'r lleuad. Neu fod pin bach yr wythnos gyntaf, a dau bin yr ail wythnos, a'i dyblu felly dros flwyddyn, yn ormod o rent am holl Gymru. Y pethau hyn a'r cyffelyb, ag sydd yn hawdd eu profi, ydynt mor anhygoel gan rai dynion, ag unrhyw beth y'nghorph y llyfr. Rhaid yw bod yn ddwys ystyriol cyn y gellir bod yn dra gwybodol. Dymunwn i'r olwg hon ar weithredoedd Duw ddyfod a chwi, fy nghyd-genedl anwyl, i adnabyddiaeth o berffeithrwydd Duw, ac felly i wasanaethu Duw yn ddyfalach, gan fyw yn ol ei ewyllys. Yn awr, ar i bob peth gyd weithio er eich daioni tragywyddol chwi, fu, yw, ac a fydd gweddi ac ymdrech eich Cydwladwr, a'ch gwsanaethwr yn yr Arglwydd,*

*DAFYDD LEWYS.*

Llangatwg,
Gorph. 22, 1725

# Golwg ar y Byd, &c.

## PENNOD I.

### AM DDUW.

#### 1. *Am Hanfod Duw.*

DYLED Dŷn yw adnabod Duw; ac y mae efe i'w adnabod mewn dwy ffordd, sef yn ei air, ac yn ei waith; ïe, y mae ef yn ei air yn ein danfon ni at ei waith, ac yno i ystyried ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni. Hanfod ysprydol perffaith o honaw ei hun yw Duw, yn dragywyddol ac yn anfeidrol mewn gallu, doethineb, a daioni. Y mae gair Duw yn dangos, 1, Fod Duw yn dragywyddol, erioed a hyd byth, a hyny o honaw ei hun. 2, Ei fod ef yn anghyfnewidiol. 3, Ei fod ef yn holl-bresennol. 4, Ei fod ef yn hollalluog. 5, Ei fod ef yn hollwybodol. 6, Ei fod ef yn holl-ddaionus. 7. Ei fod ef yn anfeidrol berffaith. Y mae y gair yn dangos hefyd fod Duw i'w weled yn ei waith. Medd St. Paul, Rhuf. 1. 20. "Ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef, a'i Dduwdod, hyd onid ydynt yn ddiesgus." Medd Duw yn Esay 40. 26. "Dyrchefwch eich llygaid i fynu, ac edrychwch pwy a greodd y rhai hyn, a ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi, efe a'i geilw hwynt oll wrth eu henwau, gan amlder ei rym ef, a'i gadarn allu, ni phalla un." Y mae chwech peth yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw yn y ser. 1, Eu maint yn llawer mwy na'r ddaear hon. 2, Eu rhif, yn amlach nag y gellir eu rhifo. 3, Eu buander, yn llawer cynt na bwled mangnel *(cannon)*. 4, Cywirdeb eu troad,

yn cadw eu ffyrdd. 5. Eu rhinwedd yn lleshau 'r ddaear a'i thrigolion. 6, Eu hufudd-dod yn gwneud yn ol gorchymyn Duw. Y mae Duw, yn Llyfr Job, pen. 38, 39, 40, 41, yn galw arno ef, ac arnom ninneu, i weled ac i ystyried ei berffeithrwydd ef yn ei weithredoedd: a'r rhai ni wnant hyn a gyfrifir yn y Salmau yn ffoliaid di-ddyall. Ps. 92. 5, 6. "Mor fawredig, O Arglwydd, yw dy weithredoedd, dwfn iawn yw dy feddyliau. Gwr annoeth ni ŵyr, a'r ynfyd ni ddyall hyn. Y mae pob peth yn pregethu Duw." Ps. 19. 1,—4. "Y Nefoedd sy'n datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef. Dydd i ddydd a draetha ymadrodd: a nos i nos a ddengys wybodaeth. Nid oes iaith nac ymadrodd, lle ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt. Eu llinyn a aeth trwy'r holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd." Ystyriwn yma: 1, Fod y nefoedd a'r ffurfafen, a'i lluoedd, yn bregethwyr. 2, Eu hathrawiaeth; gogoniant Duw. 3, Eu dyfalwch; dydd a nos. 4, Eu dysgeidiaeth; yn mhob iaith. 5, Eu teithiad; yn mhob lle. 6, Eu haelioni; y cwbl yn rhâd. Gan fod Duw mor rhyfeddol yn mhob peth, gadewch i ni geisio ei adnabod ef, ei ofni, ei garu, ei glodfori, a'i wasanaethu ef yn ffyddlon hyd y diwedd.

## 2. *Am Sicrwydd Duw.*

Nid oes achos fod neb heb sicrwydd am Dduw, canys y mae pob peth yn dangos ei fod ef. 1, Y mae ei air. 2, Ei waith. 3, Ei Yspryd. 4, Ei ragluniaeth. 5, Gwaith ei ras ar ei bobl. 6, Cydwybod pob dyn. Nid oes dim yn amlycach na'r haul, etto nid oes dim agos yn fwy anhyspys i ni nag ef; felly nid oes dim yn haws ei weled na Duw, na dim yn anhaws ei amgyffred nag ef. Wrth edrych ar y byd, ac ystyried y cywreinrwydd sydd ynddo, ni a allwn wybod yn hawdd fod rhyw un doeth wedi ei wneuthur ef. Meddwl, yn 1, Dy fod yn cael oriawr (*watch*) yn y maes,—2, a hono yn dangos yr oriau, a'r munudau, a dyddiau 'r mis,—3, ac ynddi ryw olwynion wedi eu cymhwyso yn gywrain i'w gilydd,—4, ac eto heb un o

honynt yn gallu troi heb fod y cwbl yn troi,—5, a'u bod wedi eu gwneuthur o bres, fel na rydant,—6, a'i *spring* o ddur, (am mai dyna y fetel oreu at hyny)—7, a gwydr goleu ar ei hwyneb, i weled drwyddo, heb orfod ei dynu,—8, ac allwedd bychan y'nghrog wrthi, i'w dodi i gerdded,—9, a thwll bach oddi tani, i dderbyn yr allwedd,—10, a'r cwbl i gyd o ychydig faint, er mwyn ei dwyn yn haws;—meddwl hyn i gyd, meddaf, a bydd hawdd i ti wybod fod rhyw un doeth wedi eu gwneuthur. Y mae llawer mwy o gywreinrwydd na hyn yn mhob creadur, yn mhob perchen bywyd, yn mhob aelod o ddyn; a hyn sydd yn dangos fod Duw galluog, doeth, a daionus wedi ein gwneuthur. Ni wn i beth nas gall y dyn hwnw ddychymyg, a dybio fod hyn i gyd o ddamwain. Mae'n rhaid fod Duw tragywyddol, yr hwn a roes ddechreuad i bob peth; canys pe buasai un amser ddim, ni buasai ddim byth, canys ni all dim wneuthur dim. Pwy a dybygai wrth weled llong, neu felin, neu delyn, neu lyfr, eu bod o ddamwain? Pwy na chyhoeddai hwnw yn ffol, a dybiai hyny? A llawer amgenach na hyn yw pob un o weithredoedd Duw. Ceisiwn weled Duw yn mhob peth; y mae efe yn ein gweled ni yn mhob lle.

### 3. *Am Ragluniaeth Duw.*

Cyn i'r Arglwydd wneuthur dyn, fe wnaeth bob peth yn gyntaf yn barod iddo. 1, Fe wnaeth y byd yn dŷ iddo. 2, Yr haul yn oleuni iddo. 3, Ffrwythau y ddaear yn fwyd iddo. 4, Llawer o bethau eraill er cysur iddo. 5, Ac yn ebrwydd ar ei ol, gwraig yn ymgeledd iddo, ac i lenwi'r byd. Rhyfedd fel y mae yr Arglwydd yn ei ragluniaeth wedi cymhwyso pethau i'w gilydd! nid oes dim gan Dduw wedi ei wneuthur yn ofer. Y mae pob peth i'w ddiben a'i ddefnydd angenrheidiol, er na b'om ni yn fynych yn canfod na'r diben na'r angenrheidrwydd. Y mae'r Arglwydd byth eto yn llywio'r byd. Nid oes dim yn y byd yn bod ond trwy ei ragluniaeth ef, ïe, gymaint a chareg yn pwyso tua'r ddaear. Pan y gwelom long yn dyfod dros y môr, ac yn uniawn i mewn i borthladd, ni a

wybyddwn fod dynion ynddi, er nad ydym yn eu gweled; felly y mae Duw i'w weled yn trefnu'r byd. Ystyriwn mai'r Arglwydd, 1, A wnaeth y byd, 2, Sy'n cynnal y byd. 3, A brynodd y byd. 4, Sy'n trefnu'r byd. 5, A farn y byd. 6, Ac a ddylai gan hyny gael gwasanaeth y byd. Rhoddwn ein hunain i wasanaeth Duw, a bwriwn ein hunain ar ei ragluniaeth ef. Y mae rhagluniaeth Duw yn cyrhaedd pob peth, yn mhob lle, bob amser. Nag ofnwn ddim mewn un trallod, mae Duw yn gweled, mae Duw yn gwybod. Meddai un gŵr, "Duw a'i ragluniaeth yw fy etifeddiaeth." Y mae Duw yn ei ragluniaeth, 1, Yn rhagwybod pob peth. 2, Yn cynnal pob peth. 3, Yn gwneuthur rhyw bethau. 4, Yn goddef rhyw bethau. 5, Yn attal rhyw bethau. 6, Yn dyfod a phob peth yn y diwedd i'w ogoniant ei hun, a daioni ei bobl. Dat. 2. 10. "Nag ofna ddim o'r pethau yr ydwyt i'w dioddef: wele y cythraul a fwrw rai o honoch chwi i garchar, fel y'ch profer, a chwi a gewch gystudd ddeng niwrnod. Bydd ffyddlon hyd angau, a mi a roddaf i ti goron y bywyd." Ystyriwn yma, 1, Mai'r cythraul yw'r achos o gystuddiau yn fynych. 2, Y gall y dynion goreu ddioddef y pethau gwaethaf. 3, Fod yr Arglwydd yn gadael i'r cythraul flino ei bobl, er mwyn eu profi. 4, Na ddylai pobl Dduw ofni dim ac a all ddigwydd iddynt yn y byd. 5, Fod Duw yn ffrwyno 'r cythraul, fel pan chwennycho flino pawb, ni chaiff flino ond rhai; pan y b'o yn chwennych bwrw i uffern, ni chaiff fwrw ond i garchar; pan chwennycho gystuddio byth, ni cheiff ond cystuddio dro. 6, Fod yn rhaid bod yn ffyddlon hyd angau. 7, Addewid Duw i'r cyfryw, sef coron y bywyd. Medd Duw yn Hos. 2. 8, 9. "Ac ni wyddai hi mai myfi a roddais iddi ŷd, a gwin, ac olew; ac a amlheais eu harian a'u haur, y rhai a ddarparasant hwy i Faal, am hyny y dychwelaf, a chymmeraf fy ŷd yn ei amser, a'm gwin yn ei dymmor; a dygaf ymaith fy ngwlan a'm llin a guddiai ei noethni hi." Ystyriwn yma, 1, Mai Duw yn ei ragluniaeth yw awdwr a rhoddwr pob daioni, sef ŷd, a gwin, ac olew, ac arian, ac aur, a gwlân, a llin. 2, Nad yw llawer o ddynion, o herwydd

eu hanystyriaeth yn gwybod hyny. 3, Fod dynion yn chwannog iawn i gamarferu doniau Duw. 4, Fod yr Arglwydd yn bygwth, am gamarferiad ei drugareddau, eu cymeryd hwynt ymaith. Fel hyn, trwy ei ragluniaeth, y mae'r Arglwydd yn trefnu 'r byd; ond y'mhob cyflwr fe fydd yr Arglwydd gyda'i bobl. Esay 43. 1. "Ond yr awr hon, fel hyn y dywed yr Arglwydd dy greawdwr di, Jacob, a'th luniwr di, Israel, Nag ofna; canys gwaredais di: gelwais di erbyn dy enw; eiddof fi ydwyt. Pan elych trwy'r dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy'r afonydd, fel na lifant drosot: pan rodiech trwy'r tân, ni'th losgir, ac ni ennyn y fflam arnat." Ystyriwn yma, 1, Mai'r Arglwydd yw ein Creawdwr a'n perchen. 2, Fod ffordd y nefoedd yn ffordd galed iawn, sef trwy ddwfr a thân. 3, Na ddylai eiddo Duw, er hyny, ofni dim ar y ffordd hon. 4, Y bydd yr Arglwydd gyda'i bobl yn mhob cyflwr; sef yn y dwfr a'r tân i'w gwaredu. Ac felly ystyriwn ein perchen, ein ffordd, ein dyled, a'n cysur. Medd Paul, Rhuf. 8. 28. "Ni a wyddom fod pob peth yn cyd weithio er daioni i'r rhai sy'n caru Duw. Medd Dafydd, Ps. 119. 71. 76. "Da yw i mi fy nghystuddio; fel y dysgwn dy ddeddfau. Cyn fy nghystuddio yr oeddwn yn cyfeiliorni: ond yn awr cedwais dy air di." Mae'r Arglwydd yn ceryddu dynion er eu daioni. Medd Esay, 27. 9. "Trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma'r holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod." Medd yr Apostol yn yr Hebreaid, 12, 6, 8. "Y neb y mae'r Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu, ac yn fflangellu pob math a dderbynio. Eithr os heb gerydd yr ydych, o'r hon y mae pawb yn gyfranog, yna bastardiaid ydych, ac nid meibion. Medd Paul, 1 Cor. 11. 32. "Eithr pan y'n bernir, y'n ceryddir gan yr Arglwydd, fel na'n damnier gyda'r byd." Ymfoddlonwn i bob peth a ddigwyddo i ni trwy ragluniaeth Duw. Hyderwn yn wastad yn ei ragluniaeth ef; er na byddom yn ei hamgyffred: ac yn wir nis gallwn ni; canys, medd y gair, Ps. 77. 19. "Dy ffordd sydd yn y môr, a'th lwybrau yn y dyfroedd mawrion; ac nid adwaenir dy ôl." Y mae rhagluniaeth Duw,

1, Yn ddirgel. 2, Yn faith. 3, Yn rhyfeddol. 4, Yn ddaionus. 5, Yn sicr. Y mae genym amryw esamplau hynod am ragluniaeth Duw yn yr ysgrythur. Blwyddyn gyfan y bu Haman yn bwrw coelbren am ddiwrnod happus i ddifetha 'r Iuddewon; ac o'r diwedd, wedi cael diwrnod wrth ei fodd, dyna'r dydd, trwy ragluniaeth Duw, a fu yn ddyrchafiad iddynt, ac yn ddinystr i'w gelynion." Est. 3. 13. Pen. 9. 1. Haman yntau a grogwyd, yn nghyd a'i ddeng mab, ar y crogbren a barotodd i Fordecai." Pen. 7. 10. a 9. 13, 14.

## 4. *Am Wasanaeth Duw.*

O mor ryfeddol yw Duw, yr hwn a wnaeth y byd mor fawr, mor ddeheu, ac mor dda, o ddiddim ddefnydd! A phwy na wasanaethai Dduw mor ryfeddol!

> O ddim, heb ddim, y gwnaeth yr Arglwydd nefol
> Y byd i gyd, a'i luoedd mawr rhyfeddol.

Gwell edrych ar Dduw yn wastad, nag ar gyrn y Heuad. A wasanaetho Dduw mewn cellwair a ddemnir o brysur, yr hyn a ofnom ei ddywedyd ger bron dynion, a ddylem ofni ei feddwl ger bron Duw. Os na chymmerwn ni amser i wasanaethu Duw, ni chymer Duw amser i'n hachub ninau. Na thwyllwn ein hunain, nis gellir twyllo Duw. Medd St. Paul, Gal. 6. 7. "Na thwyller chwi, ni watworir Duw; canys beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fêd efe. Meddwl di am Dduw i'w garu, ac fe feddwl Duw am danat titheu i'th gadw. Y mae efe yn mhob lle, yn canfod pob dim, yn gallu pob peth, ac yn barod i achub pob dyn. Gwasanaetha di Dduw, a Duw a'th wasanaetha ditheu. Adnebydd dy hun i ofni Duw, ac adnebydd Dduw i'w garu ef. Pe byddai dynion yn adnabod Duw yn well, nhwy a'i hofnent ef yn fwy, ac a'i gwasanaethent ef yn ddyfalach. Tybygwn weithiau nad yw rhai dynion yn ein hamser ni yn credu y pum pwngc cyffrediuol, a gredwyd gan yr holl genhedloedd erioed; sef, 1, Fod Duw. 2, Ei fod ef i'w wasanaethu. 3, Fod enaid anfarwol gan ddyn. 4, Fod da a drwg yn y byd. 5, Fod byd arall i wobrwyo. Y mae'n rhy amlwg fod llawer iawn yn ein mysg ni, 1, Erioed heb ystyried hyn. 2, Ac am

hyny heb wybod cymaint a hyn. 3, Heb gredu hyn. 4, Heb geisio byw yn ol hyn. Ofn Duw yw dechreu doethineb, a chariad Duw yw cyflawnder y gyfraith. Rho dy hun yn gyfan gwbl i wasanaeth Duw. 1, Adnebydd ei ewyllys ef. 2, Gwna ei ewyllys ef. 3, Gweddia am ei gymmorth ef. 4, Diolch iddo am ei Gariad. 5, Hydera arno yn Nghrist. 6, Hiraetha am berffeithrwydd. O mor afresymol yw i ni ddibrisio y Duw sy'n ein cynnal ni, ac a all ein tori ni. Medd Moses, Deut. 13. 4. "Ar ol yr Arglwydd eich Duw yr ewch, ac ef a ofnwch, a'i orchymynion ef a gedwch, ac ar ei lais ef y gwrandewch, ac ef a wasanaethwch, ac wrtho ef y glynwch." Ac medd Samuel, 1 Sam. 12. 24. "Yn unig ofnwch yr Arglwydd, a gwasanaethwch ef mewn gwirionedd â'ch holl galon, canys gwelwch faint a wnaeth efe eroch." Rhown ein hunain i wasanaeth Duw, a byddwn filwyr ffyddlon iddo ef. Rhaid i Gristion fod fel milwr. 1, Rhaid i filwr gael ei ddewis a'i listio. 2, Rhaid iddo gael ei ddysgu. 3, Rhaid iddo gael ei arfogi. 4, Rhaid iddo ddisgwyl am wrthwynebion a chaledi. 5, Rhaid iddo ufuddhau, a dilyn ei gadpen. 6, Rhaid iddo fod yn lew a diofn, 7, Rhaid iddo gadw ei le. Fel hyn y mae gyda 'r Cristion. Ni ddylai milwyr Duw ymladd â'u gilydd, canys un corph, neu eglwys ydynt. Ystyriwn, 1, Iesu Grist yw'r pen. 2, Gweinidogion yw'r llygaid. 3, Gwrandawyr yw'r clustiau. 4, Swyddogion a llywodraethwyr yw'r dwylo. 5, Deiliaid yw'r traed. 6, Tosturi a chariad brawdol yw'r gewynau. Rhoddwn ein hunain yn gwbl i Iesu Grist, canys efe a'n machnïodd o gaethiwed tragywyddol, Iesu Grist yw machniwr y cyfammod newydd. 1, Duw yw'r gofynwr. 2, Nyni yw'r dyledwyr. 3, Pechodau yw'r ddyled. 4, Iesu Grist yw'r machniwr. 5, Y cyfammod newydd yw'r weithred, yn ol pa un y rhoddodd Crist foddlonrwydd i Dduw. Ni a ddylem bob amser ystyried gweithredoedd Duw, i'n cymmell ni i'w wasanaethu ef. Ond yn enwedigol, 1, Pan y b'om yn ddideimlad o Fawrhydi Duw. 2, Pan y b'om yn cael ein blino gan feddyliau amheus a diddaw. 3, Pan y b'om yn

ameu addewidion Duw. 4, Pan y b'o anhyder ynom am ein cynhaliaeth corphorol. 5, Pan y byddom yn chwennych mawrygu ein rhagorfreintiau cyfammodol. Os byddwn yn iawn ystyried gweithredoedd Duw; 1, Yna fe fydd ein calonau yn barotach i glodfori Duw. 2, Yna hwy fyddant wedi eu tynu oddiwrth y creaduriaid at Dduw. 3, Yna fe fydd mwy o ofn Duw. 4, Yna fe fydd mwy o gariad at Dduw. 5, Yna fe fydd mwy o hyder ar Dduw. 6, Yna fe fydd mwy o ufudd-dod a gwasanaeth i Dduw. Ps. 24. 1. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear, a'i chyflawnder, y byd, ac a breswylia ynddo." Ystyriwn yma, 1, Mai eiddo Duw yw pob peth. 2, Gan mai eiddo Duw yw pob peth, y gall ef roddi i'r neb y myno, a chymeryd oddiwrth y neb y myno. 3, Gan mai eiddo Duw ydyw pob peth, mai gan Dduw y mae i'ni geisio beth bynag a fo yn eisiau. 4, Gan mai eiddo Duw yw pob peth, mai i Dduw y mae i ni ddiolch am bob peth sydd genym. 5, Gan mai eiddo Duw yw pob peth, mai Duw ddylem ei wasanaethu yn y mwynhad o bob peth. 6, Gan mai eiddo Duw yw pob peth, y bydd gwae i'r rhai sydd yn mwynhau eiddo Duw i bechu yn ei erbyn. Os mynwn wneud gwasanaeth i Dduw, rhaid ceisio goleuni Duw, a help Duw, a bod yn ofalus rhag diffodd yr Yspryd. Rhaid bod yn ofalus am hyn fel am dân yr allor gynt. Ystyriwn, 1, Daeth tân o'r nefoedd yn y Tabernacl a'r Deml. Lef. 9. 24. 2 Chron. 6. 1, 2. Rhaid oedd cadw y tân hwn wedi'n yn enynu yn wastadol ar yr allor. 3, Rhaid oedd offrymu a llosgi oen ar yr allor, foreu a hwyr yn wastad. 4, Rhaid oedd i rai wylied nos a dydd i gadw'r tân yn llosgi. 5, Rhaid oedd arfer y tân hwn yn ngwasanaeth Duw. 6, Cafodd Nadab ac Abihu eu llosgi eu hunain am arfer tân dyeithr. Lef. 10. 12. Yn gyffelyb i hyn, 1, Rhaid ceisio gras o'r nefoedd. 2, Rhaid ei gadw a'i gynhesu wedi'n yn wastadol. 3, Rhaid, trwy ras, roi aberth gweddi, fore a hwyr yn wastad o'r hyn lleiaf. 4, Rhaid gwylied yn wastad ar y galon, a'r yspryd, a'r bywyd. 5, Nid oes le i arfer dim yn ngwasanaeth Duw ond pethau Duw. 6, A ddelo a phethau dieithr i wasanaeth Duw a fell-

dithir. Rhaid gwneuthur pob peth yn ngwasanaeth Duw, yn ol rheol ewyllys Duw, sef ei air. Y Bibl yw ewyllys Duw, neu Destament Iesu Grist. Ystyriwn, 1, Iesu Grist yw'r Testamentwr. 2, Yr etifeddion yw y saint. 3, Y rhoddion yw gras a gogoniant. 4, Yr *executor* yw 'r Ysprydd santaidd. 5, Y tystion yw 'r duwiolion, y prophwydi, yr Apostolion, a'r merthyron. 6, Yr ewyllys yw'r Bibl. 7, Y Sêl yw'r sacramentau. 8. Y drychiolwr yw Duw. 9, Y cwrt yw'r nefoedd a'r gydwybod; sef y cwrt uchaf a'r isaf. 10, Y term yw tragywyddoldeb. Nid digon i ni gyfrif ein hunain yn bobl ac yn weision i Dduw, mae'n rhaid i ni adnabod ei ewyllys ef, a gwneuthur ei waith ef, cyn y gallom ddisgwyl am ei wobr ef.

Ofer dweyd ein bod o'r eglwys,
Heb ymroi i fyw yn gymmwys:
Mae'n rhaid gweithio yn y winllan,
Cyn cael mynd i'r nefoedd wiwlan.

---

# PEN. II.

## AM YSPRYD.

### 1. *Am Nattur Yspryd.*

Y MAE amryw fath o ysprydion. Y mae Duw yn Yspryd, eithr Yspryd anfeidrol yn mhob perffeithrwydd yw ef. Efe yw Tâd yr ysprydoedd. Heb. 12. 9. Y mae ysprydion, neu angylion; ac y mae enaid dyn yn yspryd. Yspryd yw hanfod ddyallus, anghorphorol, ac anfarwol. Anghorphorol yw yr hyn sy'n meddwl ac yn dirnad; canys ni all corph wneud un o'r ddau. Y mae gair Duw a rheswm yn profi fod y cyfryw hanfod. Anfarwol raid i'r peth hyny fod ag sy'n bur, ddigymmysg, ac nas gellir ei ranu. Y mae yspryd yn cynnwys bywyd, dyall, ewyllys, a theimlad. Pwy a ŵyr beth yw dyall a gallu Yspryd, a'r modd y mae yn dirnad, ac yn gweithio ar bethau corphorol. Ni wyddom ni, 1, Pa ddeddfau naturiol sydd yn mysg ysprydion. 2. Pa sawl rhyw sydd o honynt. 3, Pa

ffyrdd sydd ganddynt i ddirnad. 4, Pa fodd y maent yn hyspysu eu meddyliau i'w gilydd. 5, A oes ganddynt fath o gyrph. 6, Pa fodd y maent yn gweithio ar bethau corphorol. 7, A oes ysprydion yn yr awyr, yn eu helfen eu hunain, heblaw angylion da a drwg, ac eneidiau dynion, megis y tylwyth teg. 8, A ydyw eneidiau annuwiol yn troi yn debyg i'r cythreuliaid. 9, Pa fath greaduriaid sydd uwchlaw yr awyr, yn yr ehangder mawr, teg a dysglaer. 10, Ai yno y mae y nefoedd a'i thrigolion. 11, Pa fath allu, a dyall, a chyffroad, ac anwydau sydd gan ysprydion. 12, Pa fath attaliad a rhwystrau sydd arnynt. Eto er hyn i gyd gallwn fod mor sicr fod yspryd a bod corph. Ni wyddom ni beth yw sylwedd y naill na'r llall, ond yn unig eu priodoliaethau. Y mae corph yn beth sydd yn llenwi, yn pwyso, yn cymeryd ei ranu, ei gyffroi, ac hefyd o ryw lun a lliw, a'r cyffelyb. Felly eilwaith y mae yspryd, yn beth sy'n byw, yn cyffroi o hono ei hun, yn meddwl, yn dirnad, yn cofio, yn serchu, a'r cyffelyb. Y mae mor sicr bod rhyw beth yn meddwl a bod rhyw beth i'w weled; a'r peth sydd i'w weled nis gall ef ddim meddwl. Ond ni wyddom ni beth yw y sylwedd, neu y peth hwnw, yn mha un y mae y priodoliaethau hyn yn bod ac yn sefyll.

## 2. *Tystiolaeth am Ysprydion.*

Er cymaint fu, ac y sydd, o Saduceaid, y rhai sydd yn gwadu fod ysprydion, eto y mae digon o bethau, ac o resymau yn profi ac yn dangos fod yspryd. 1, Y mae pob peth yn dangos fod Duw, ac Yspryd tragywyddol, anfeidrol yw Duw. 2, Y mae'r Ysgrythur yn dangos fod ysprydion da a drwg. 3, Y mae genym ddigon o hanesion sicr am ysprydion: ond ni soniaf fi yn awr am rai pell, na rhai hen, ond am rai diweddar ac agos.

Yn mhlwyf Llangeler, yn Sîr Gaerfyrddin, Mai 21, 1719, y dechreuodd yspryd, yr hwn hefyd a barhaodd dros hir amser, i daflu cerig o ddeutu rhai oedd yn dyrnu yn y maes yno. Dydd Iau y Sulgwyn y dechreuwyd dyrnu, o ddeutu 8 o'r bore, ac y dechreuodd

ynteu daflu cerig. Un o'r dyrnwyr yn gyntaf a welodd gareg yn disgyn ar y llawr dyrnu; yr ail gareg a ddisgynodd ar glun morwyn y tŷ, nes ydoedd clais arni. Ac yn mhen ychydig llanwasant y llawr dyrnu a'r twyn oddiamgylch, yr hyn a wnaethant lawer gwaith wedi hyny. Y dyrnwyr a roisant heibio eu gwaith, ac a aethant i edrych pwy oedd yn eu taflu hwynt, ond ni allasant weled neb. Dydd Gwener, y forwyn, pan oedd yn yr ardd, a darawyd dair gwaith, a tharawyd rhai o'r plant nes iddynt fyned allan o'r ty. Fe ddaeth llawer y'nghyd i weled y rhyfeddodau hyn. Yr oedd pawb ag oedd yn dyfod yn cael gweled digon o gerig yn disgyn. Dydd Sadwrn fe darawyd y forwyn ac un o'r dyrnwyr. Yr oedd rhai cerig yn chwyrnu, ac megis cleisiau ar amryw o honynt. Ni welid y cerig nes byddent yn disgyn, a phan godid hwynt byddai eu hol ar y llawr megis pe buasent yno flwyddyn o'r blaen. Fe ddaeth pawl mawr yn groes ar ffenestr, heb neb gweledig yn dyfod ag ef. Rhai ni chredent nes anfon cenhadon i weled, ac i gyrchu rhai o'r cerig adref i'w tai. Fe gyfodwyd cyff mawr o bren o'r cwrt i ben y tŷ, ac fe ddisgynodd mewn man arall. Dydd Sul fe ddaeth llawer iawn y'nghyd i weled, ac amryw o honynt oedd yn tyngu ac yn rhegu, ac yn siarad yn gableddus ac yn ysgafn. Fe ddisgynodd cerig mawr ar y llofft yn y ty, ond ni welent hwynt nes disgynent. Fe darawyd bar haiarn o'r ffenestr allan, ac fe blygwyd bar arall fel bach ysdarn, a thorwyd y gwydr yn friwsion mân. Gwedi nos fe ddaeth cerig i'r gwelyau, a chloriau y ffenestr a aethant i'r lloft, a gorfu i dylwyth y tŷ godi o'u gwelyau, a myned i dŷ cymmydog; nid oedd ond y cerig yn llawn yn y tŷ, ac oddiamgylch iddo. Nos Fercher fe losgwyd yr ysgubor, a'r llafur, a llawer o bethau eraill. Yr oedd bob dydd yn taflu cerig, ond nid bob awr; yr oedd ef weithiau yn eu taflu can gynted ag y gellid eu rhifo, a'r rhan fwyaf o honynt yn gerig afon, a rhai o honynt yn chwe' phwys neu ragor o bwysau. Daeth cymmydogion yn nghyd i weddio ar Dduw yn y tŷ, ac ni bu yno fawr o stŵr y nos hono. Llawer o bethau yn rhagor a wnaeth ef,

nad oes le i'w coffau, yma, ond o'r diwedd fe ddarfu ac a beidiodd.

Fe debygai un na byddai raid yn Nghymru dros ein hamser ni, wrth un hanes arall i sicrhau i ddynion fod ysprydion, a'u bod yn gwneuthur llawer o bethau gweledig yn y byd, ond eto, er hyn i gyd, y mae, ac fe fydd llawer o Saduceaid yn ein plith, y rhai sy'n gwadu fod yspryd, na Duw chwaith, yn eu calonau. Ni bu yn y lle hwn fawr o ddiwygiad ar ol hyn mwy nag o'r blaen.

Yn awr rwy'n gwel'd, heb lai,
Na waeth beth wnair i rai,
Nhwy lynant wrth eu bai,
    Tra byddont byw;
Er cael cynghorion sant,
A rhyfeddodau gant,
Ni bydd dim serch na chwant
    At bethau Duw:

Pan ddaeth cym'dogion clyd
I alw ar Dduw y'nghyd,
Fe beidiodd yntau o hyd,
    Dros noswaith lawn;
O dyma, yn ddi lai,
Annogaeth i bob rhai
Weddio Duw 'n eu tai,
    Yn ddyfal iawn:

## 3. *Profiadau yn rhagor am Ysprydion.*

Y mae yr hyn a elwir *Second sight*, neu Gwyll olwg, yn dystiolaeth gref am ysprydion. Mae'r peth hyn yn gyffredin yn mharthau Scotland. Bydd yspryd ac a fo yn anweledig i eraill, yn portreiadu o flaen rhai dynion bethau absennol, neu bethau i ddyfod. Nid yw y rhodd hon ond gan rai. Y mae rhai yn cael eu rhybuddio, a'u helpu gan ysprydion, ac eraill yn cael profedigaethau mawrion oddiwrth ysprydion, ac eraill yn cyfammodi ag ysprydion, megis dewiniaid. Llawer o hanesion sicr sy genym ni am y cyfryw bethau, y rhai a ddygwyddasant yn mhob oes hyd heddyw: ni raid i mi yn awr sôn am chwaneg, gan fod cynifer o honynt i'w weled yn ngwaith y dysgedigion; ond pe na bae genym ond un o'r fath yn cael ei phrofi yn iawn, fe fyddai'r un hyny yn ddigon i brofi'r pwngc yr wyf fi arno, sef, fod yspryd.

## 4. *Amryw freuddwydion yn dangos fod Ysprydion.*

Y mae amryw fath o freuddwydion, breuddwydion oddiwrth dymer Corph, breuddwydion oddiwrth ofal, a breuddwydion oddiwrth ysprydion. Pan y byddo dyn yn cael golwg yn ei gwsg ar bethau i ddyfod, ag a fo'n gwbl anhyspys iddo, y mae'n sicr fod y peth yn dyfod oddiwrth yspryd.

Yn y flwyddyn 1690, gŵr yn Iwerddon a freuddwydiodd fod cyfaill iddo ar fynydd yn *Wiltshire*, yn cael ei ysbeilio, a'i ladd gan ddau leidr: dihunodd, a chysgodd drachefn, a chafodd yr un olwg. Ysgrifenodd at ei gyfaill, ac a hysbysodd iddo pa fath rai oedd y lladron, wrth eu maint, eu gwêdd, a'u dillad; gan ddymuned arno gymeryd gofal am dano ei hun. Ym mhen ychydig ar ol hyn y gŵr a laddwyd, a'r lladron a ddaliwyd wrth y llythyr, a bu'n foddion i ddyfod a hwy i gosbedigaeth. Buont mewn sibedau ar y ffordd i Lundain. *Aubrey's Miscellanies.*

Y mae genyf, (medd Mr. Flavel,) gyflawn sicrwydd am yr hanes hon. Yr oedd gŵr duwiol, ag oedd mewn mawr ofid am ei dad a'i fam oedd yn Llundain yn amser y pla; llawer llythyr a ddanfonodd attynt i Lundain, a llawer gweddi trostynt i'r nefoedd. O'r diwedd efe a freuddwydiodd ei fod mewn ystafell yn gweddio trostynt, a'r Haul a'r Lleuad yn ymddangos iddo ar y pared; ond yn mhen ychydig fe aeth yr Haul yn ddu fel penglog marw; a'r un modd y Lleuad ym mhen ychydig wedi'n. Ar hyn efe a ddeffrodd mewn dychryn mawr; Ac ym mhen pythefnos bu farw ei dad o'r pla, a'i fam eilwaith ym mhen y mîs.

Yr Arglwyddes Seymor a freuddwydiodd ei bod yn cael nyth aderyn a elwir y *Finch*, a naw o rai bach ynddo. A chynifer o blant a fu iddi o Iarll *Winchester*, enw yr hwn oedd *Finch*.

*Dr. Halley*, mewn breuddwyd a gafodd berffaith olwg a'r *St. Helens* a ser y deheu, cyn iddo fyned i'r daith fawr hono; yr hyn a adroddodd o flaen y *Royal Society*. Y mae'r pethau hyn yn dangos fod ysprydion

### 5. *Am ymddangosiad, a gweithrediadau Angylion neu ysprydion allan o'r Ysgrythur.*

Y mae'r ysgrythur yn llawn iawn am y peth hyn, Angel a ymddangosodd i'Hagar, Gen. 16. Tri Angel yn Rhîth gwyr i Abraham, Gen. 18. Dau i Lot yn yr un modd, Gen. 19. Angel a alwodd ar Hagar, Gen. 21. Ac felly ar Abraham, Gen. 22. Angel a ymddiddanodd â Jacob mewn breuddwyd, Gen. 31. Ac un a ymddangosodd i Foses yn y berth, Ecs. 3. Angel a aeth o flaen byddin Israel, Ex. 14. Angel a gyfarfu â Balaam ar y ffordd, Num. 22. Angel a lefarodd wrth holl bobl Israel, Barn. 2. Angel a ymddiddanodd â Gedeon, Barn. 6. Ac â Manoa a'i Wraig, Barn. 13. Angel a ymddangosodd i Elias, 1 Bren. 19. Angel a laddodd yn ngwersyll yr Assyriaid, 185000. 2 Bren. 19. Angel a safodd wrth lawr dyrnu Ornan, 1 Cron. 21. Angel a ymddiddanodd â'r prophwyd Zecharia, Zech, 1. Angel a ragfynegodd enedigaeth Ioan fedyddiwr i Zecharias yr offeiriad, Luc, 1. Yr Angel Gabriel a anfonwyd at Fair santaidd, Luc 1. Angel a ymddangosodd i'r bugeiliaid, Luc 2. Angel a ymddangosodd i'r ddwy Fair wrth y bedd, Mat. 28. Angel a agorodd ddrws y carchar i Pedr ac eraill, Act. 5. Angel a ymddiddanodd â Chornelius, Act. 10. Angel a waredodd Pedr allan o'r carchar eilwaith, Act. 12. Satan a ymddangosodd i Iesu Grist i'w demtio ef, a hyny yn fynych, Mat. 4. Llawer yn rhagor a allwn gasglu, ond digon yw hyn i brofi ymddangosiad ysprydion gynt. Yn awr gan eu bod yn ymddangos gynt mor fynych, ni wn i pa'm y mae mor anhawdd gan rai goelio eu bod yn ymddangos weithiau etto.

### 6. *Am raddau Angylion, neu Ysprydion.*

Y mae yn debygol iawn fod graddau y'mysg ysprydion, ond bod y peth yn dywyll i ni; y mae rhai yn dala fod 9 gradd o angelion da; sef, 1, Angelion. 2, Arch-Angelion. 3, Tywysogaethau. 4, Awdurdodau. 5, Lluoedd. 6, Galluoedd. 7, Thronau. 8, Seraph-

iaid. 9, Cerubiaid. Ac hefyd fe ddywed rhai fod naw gradd o Angylion drwg. Tebygol genyf nad oes neb a ŵyr pa sawl rhyw na gradd sydd o honynt, ond yn unig fod graddau yn eu mysg; canys yr ydym yn darllen, Eph. 6. 12, am Dywysogaethau, Awdurdodau, a Bydol lywiawdwyr. Ac am Dywysog llywodraeth yr awyr, Eph. 2. 2. Ac am Beelzebub, pennaeth y cythreuliaid, Mat. 12. 24. Ac am Satan a'i Angelion, Dat. 12. 7, 8, 9. Ac hefyd am Angylion ac Arch-Angylion; ac am Fichael, un o'r Tywysogion pennaf, Dan. 10. 13. Jud. 9. Y mae'r pethau hyn yn dangos fod graddau yn eu mysg, a bod rhai o honynt yn uwch neu yn îs na'u gilydd.

### 7. *Am swyddau Angylion da.*

Y mae'r Angylion yn ysbrydion gwasanaethgar, 1, Y maent yn disgwyl wrth Dduw, yn gosod allan ei ogoniant, yn datguddio ei ewyllys, yn rhagfynegi pethau i ddyfod, ac yn dïal ei lid ar yr annuwiol, Gen. 19. 2. Y maent yn gweini i Iesu Grist, ac yn ei addoli ef, yn rhagfynegu ei gnawdoliaeth, yn anrhydeddu ei enedigaeth, yn ei waredu rhag Herod, yn ei gynnorthwyo pan demtiwyd gan ddiafol, ac yn yr ardd, yn gweini iddo ar ei adgyfodiad, a'i esgyniad, ac yn y diwedd y maent i ddyfod gyd âg ef i farnu'r byd, ac i gasglu'r efrau i'w llosgi, a'r gwenith i'w ysgubor. 3. Y maent yn gofalu am bobl Dduw, yn eu hachub, ac yn eu cadw, yn sefyll dros Grist a'i eglwys, yn erbyn satan a'i angylion, yn castellu oddeutu'r seintiau, ac yn eu hyfforddi, yn gweddio trostynt, ac yn eu diwallu, ac yn y diwedd yn dwyn eu heneidiau i'r nefoedd.

### 8. *Rhai pethau yn rhagor y'nghylch Angylion da a drwg.*

Y mae un angel yn ddigon abl, fel y tybir, i ddinystrio'r byd, a'r cwbl o'i fewn, ïe, i dynu'r Haul a'r Lleuad, a'r Sêr o'u hamryw leoedd, os caiff ond arch neu gennad Duw. Yr oedd yr hên deidiau yn gyffredin yn meddwl y byddai i'r nifer a syrthiodd o angylion, gael eu gwneuthur i fynu oddynolryw. Tybia

rhai fod yr angylion da yn amlach na 'r rhai drwg o gymmaint ag yw dynion drwg yn amlach na'r rhai da. Pechod y diafol, medd rhai, oedd, na fynnai i'r ail Berson o'r Drindod, er mwyn Iechydwriaeth Dyn, gymmeryd cnawd; gan y byddai i'r natur ddynol trwy hyny gael ei dyrchafu uwchlaw eiddo Angylion. Y mae llid y diafol yn fwy na'i ddoethineb ef, oni b'ai hyny ni wrthwynebai ef bobl Dduw fel y mae, gan nad yw, trwy hyny, ond mwyhau eu gogoniant hwy, a'i farnedigaeth ei hun. Y mae 'r diafol yn ddoeth, ond nid yn gwbl ddoeth; nage, nid yw ei ddoethineb ef ond cyfrwystra i wneuthur drwg. Y mae yn alluog, ond nid yn holl-alluog, y mae Un cryfach nag ef. Y mae gwybodaeth ysprydion yn naturiol, yn ddatguddiol, ac yn brofiadol. Yn awr gan fod angylion ac ysbrydion yn greaduriaid mor ardderchog, pa mor ardderchog a gogoneddus yw'r Duw yr hwn a'u gwnaeth, ac sy'n eu llywodraethu hwynt. Oni ddylai y cyfryw un gael ei ofni, ei garu, a'i wasanaethu.

---

## PEN. III

### AM ENAID DYN.

#### 1. *Am natur yr Enaid.*

YR Enaid sy'n sylwedd ysprydol, yn cynnwys bywyd, deall, ewyllys, a theimlad, ac yn bywiocau, ac yn rheoli corph dynol. Y mae'n sicr ein bod ni yn byw, yn deall, yn ewyllysio, ac yn teimlo, neu yn mwynhau; a bod y galluoedd hyn yn rhyw sylwedd, canys dim, ni all ddim. Ac y mae yn sicr hefyd, nad y corph sy 'n gwneuthur hyn; canys ni all corph, o hono ei hun, na byw, na deall, na gweled, na chlywed, na dirnad, na gwneuthur un peth arall; gan hyny rhaid i'r galluoedd hyn fod yn tarddu oddiwrth ryw sylwedd yrprydol, neu anghorphorol. Y mae 'r enaid yn greadur nad oes ei fath yn weledig yn y byd hwn. Y mae galluoedd, a chynneddfau mawrion ynddo. Y mae ynddo ddealltwriaeth, yr hon a ellir ei galw,

llygaid yr enaid. Ac eilwaith gydwybod, yr hon yw goruwchwilwraig yr enaid, yn mynegu beth a wneir, a pheth ni wneir. Hefyd y farn, yr hon sy'n barnu yr hyn a ddêl i'r enaid. Y Dyfais, yr hon sy'n edrych ym mlaen, ac yn canfod yr hyn a fydd. Y côf, yr hwn sy'n edrych yn ol, ac yn canfod yr hyn a fu. Y meddwl, yr hwn sydd megis yn dwyn yr enaid i bob lle, ac yn chwilio pob peth ym mhob man. Nid yw yr holl alluoedd hyn ond megis canghenau o'r dealltwriaeth. Yn olaf yr ewyllys, yr hon yw llywodraethwraig yr enaid. Y mae hefyd ynddo allu i deimlo poen, ac i fwynhau pleser, oddiwrth yr hyn y mae boddlonrwydd, ac anfoddlonrwydd yn codi, y'nghyd ac amryw serchiadau. Nid yw yr enaid yn cael bywyd oddiwrth y corph, ond y corph oddiwrth yr enaid; neu yn hytrach gyffroad; canys nid yw defnydd daearol oll yn byw. Tra fo'r enaid mewn corph, ni all weithio ond trwy offerynau'r corph; ac fel y bo'r offerynau, felly y bydd y gwaith. Pan êl yr enaid o'r corph, bydd yn berffaith iawn o ran ei alluoedd naturiol. Bydd ganddo ffordd i weled, i glywed, ac i ddirnad nas gwyddom ni oddiwrthi, fel y mae gan ysprydion eraill. Rhyfedd iawn fel y gall dyn yn ei enaid, olygu peth absennol, fel pe ba'i yn bresennol; peth nad yw, na bu, ac na bydd, fel pe ba'i! Y mae amryw dybiau y'nghylch dechreureuad yr enaid. 1, Rhai a fynant ei fod trwy genhedliad a thraddodiad. 2, Rhai a fynant ei fod yn cael ei enill a'i genhedlu gan angylion. 3, Rhai a fynant fod yr holl eneidiau wedi eu creu gan Dduw yn y dechreuad, oll ac y'nghyd. 4, Rhai a fynant ei fod yn cael ei greu, a'i dywallt i'r corph gan Dduw yn ddigyfrwng.

## 2 *Am enwau'r Enaid.*

Mewn corph, fynychaf, y mae'n cael ei alw yn enaid; ac allan o gorph yn ysbryd. Weithiau wrth yr enaid y mae i ni ddeall math o fywyd; ac felly y mae tri math o enaid; sef, enaid tyfol, enaid teimladol, ac enaid rhesymol. 1, enaid tyfol yw bywyd pren, a'r cyfryw; ac nid oes yma ond tyfiant. 2, Enaid teimladol yw bywyd anifail; ac y mae yma dyfiad a theim-

iad. 3, Enaid rhesymol yw enaid a bywyd dyn; ac yma y mae'r tri, sef, twf, teimlad, a rheswm. Fe ddeallir wrth yr enaid weithiau amryw bethau eraill, trwy fath o ymadrodd, na raid i mi sôn am danynt yn awr.

### 3. *Am fawr gyraedd, ac ardderchawgrwydd yr Enaid.*

Y mae'r enaid yn nelw Duw, ac yn rhyfeddol yn gosod allan ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni ef, os ystyriwn ni ei gynheddfau ardderchawg ef; sef cyraedd a chynwysiad ei ddealltwriaeth, ehrwydd-dra ei feddwl, cyfrwys-dra ei ddyfais, gallu ei ddoethineb, llywodraeth ei ewyllys, meithder ei gôf, a gafael ei serch; ac mewn gair ei natur ddwyfol ef, a'i weithrediadau. Yr ydym yn darllen am gôf rhyfeddol amryw ddynion, megis *Seneca*, y'mysg eraill, yr hwn a ail-adroddai ddwy fil o enwau, yn y modd y clywai. Peth rhyfedd iawn, ac i ddal sylw arno, yw amryw dueddiadau dynion er daioni cyffredinol y byd. Rhai a'u cariad at un fath o gelfyddyd, ac eraill at gelfyddyd arall. Rhai am un peth, ac eraill am beth arall. A phob un yn dilyn ei ffordd, trwy bob poen gyda phleser. Peth rhyfeddol eilwaith, ac i'w ystyried, yw gallu yr enaid i ddyfeisio. Y mae yn beth rhyfedd fod dyn wedi dyfeisio cynnifer o bethau, cynnifer o ffyrdd i fyw, cynnifer o gelfyddydau, cynnifer o ddefnyddiau i bob peth, fel nad oes dim agos, nad yw ef wedi taro wrtho. Hefyd y mae hyn i'w ystyried a'i gydnabod fel trefniad Duw; sef, fod pethau tra rheidiol wedi eu cael allan yn gynnar; eithr eraill yn ddiweddarach; a rhai heb eu cael etto; megis *Perpetual Motion*, a'r ffordd i hedfan, a rhyw bethau cyffelyb; a hyn nid o ran eu bod yn anhawsach, neu heb eu ceisio yn ddyfalach, ond o ran na fynai Duw, oddiwrth ba un, fel y tystia yr ysgrythur, y mae pob doethineb, a medr, a chywreinrwydd yn dyfod. Y mae yr oes hon yn rhagori llawer ar oesoedd gynt mewn gwybodaeth a goleuni. Bob yn ychydig y gwelodd Duw fod yn dda ddatguddio pethau i ddynion Fe ddarfu i'r doethion gynt ddy-

feisio, a chael allan lawer o bethau, eithr nid pob peth. Fe ddarfu i un o honynt wneuthur Eryr pren, yr hwn a hedfanodd allan o'r ddinas i gyfarfod â'r Emprwr, ac a ddychwelodd gyd ag ef yn ol hyd at y pyrth. Llawer dyfais ryfedd gyd â hyn oedd gan y doethion gynt; ac etto buwyd yn hir, cyn cael allan rinweddau a defnyddiau'r *Magnet*, sef y garreg sydd yn tynu'r dur atti, ac yn troi at y gogledd; ie, os ydoedd ei thyniad yn hysbys yn amser *Plato*, ac *Aristotle*, etto nid oedd ei throad hyd yn hwyr. Buwyd yn hir cyn dyfeisio Argraphu, a gwneuthur clocciau, a Spien-ddrychau, a gynnau, ynghyd â llawer o bethau eraill, y rhai nad oeddynt ddim yn anhawsach na llawer o bethau a ddyfeisiwyd, ond yn unig nad oedd Duw yn mynu. Mae yr Arglwydd yn arferol o ganlyn dyfeisiau hynod, â throion mawrion yn y byd, megis ar ol Argraphu y bu i grefydd gael ei diwygio, a gwybodaeth ei thaenu dros y gwledydd. Felly yr ydys yn gobeithio, y bydd i wybodaeth ryfeddol yr oes hon agor drws o dderbyniad i'r efengyl, gyda'r cenhedloedd, a'r paganiaid, gan eu bod yn dechreu rhyfeddu, a derbyn dysgeidiaeth y gwledydd yma y dyddiau; hyn ac os na byddwn ni byw yn gyfatebol i'n goleuni, gall ein goleuni a chwbl fyn'd at eraill. Yn awr gosodwn yr holl bethau hyn y'nghyd, ac ni allwn lai na chanfod gallu, doethineb, a daioni Duw. A bydded i ni arfer pob dawn a gallu yn gwbl yn ei wasanaeth ac i'w ogoniant ef.

## 4. *Am anfarwoldeb yr Enaid.*

Nid oes neb yn amau fod ganddo enaid; sef fod ynddo ryw beth yn byw, yn deall, yn ewyllysio, ac yn teimlo; ac hefyd yn trefnu'r corph: ond y peth i'w brofi yw hyn, a ydyw y rhan fywiol hon o ddyn yn anfarwol. Y mae yn haws profi trwy *Philosophy*, fod eneidiau anfarwol gan ddynion, na phrofi fod ysprydion eraill. Y mae yn hawdd profi fod ysprydion yn ymddangos, ond nid yw mor hawdd profi nad eneidiau dynion ynt. Ni's gall dyn fod yn sicrach o ddim na bod ganddo enaid. Y mae'r ysgrythur yn helaeth yn dangos am anfaroldeb yr enaid, ac yn gosod o'i flaen

ef ddedwyddwch a thrueni tragywyddol. Y mae hefyd amryw resymau yn profi ei anfarwoldeb ef; megis, 1, Y mae 'n hanfod bur, syml, digymysg, gan ei fod yn ysbryd. Marwolaeth yw dattodiad pethau cymysgedig, a lle ni bo cymmysgedd ni's gall fod dadotiad, 2, Y mae cydsyniad pawb y'mhob oes, yn rheswm crŷf am Anfarwoldeb yr enaid. Y mae pawb yn cyttuno, oddieithr ambell un balch, ac anystyriol, a fo wedi priodi ei bleserau, a boddi mewn trachwantau. Y mae yr Indiaid a'r Paganiaid yn gwybod am anfarwoldeb yr enaid, a byd arall. 3, Y mae ymddangosiad rhai oddiwrth y meirw yn profi anfarwoldeb yr enaid. Y mae genym ddigon o esamplau sicr am hyn, Samuel a ymddangosodd i Saul, fel y tystia'r Ysgrythur, 1 Sam. 28. Moses ac Elias a ymddangosasant i'r Apostolion, yn ymddiddan â Christ, Mat. 17. 3. Y mae Deifes yn y ddameg, Luc 16, yn meddwl y gallai un ddychwelyd oddiwrth y meirw; ac nid yw Abraham yn ameu y peth, ond yn unig yn haeru na thyccia i droi dynion cyndyn anystyriol. Nid yw'n dweyd fod y peth yn a'mhosibl, fel y dywedodd o'r blaen am dramwy o'r nefoedd i uffern, ac o uffern i'r nefoedd; ond fod caledwch y rhai a esgeulusant foddion gras yn gymaint, nas gall hyn er hynotted, na dim arall yn gyffredin eu dychwelyd. Iesu Grist a adgyfododd oddiwrth y meirw, ac a ymddangosodd i amryw rai, amryw weithiau. A llawer o'r saint a ymddangosasant oddiwrth y meirw ar ei adgyfodiad ef, Mat. 27. 52, 53. Yr ydym yn cael sicrwydd am ymddangosiadau oddiwrth y meirw, y'mhob oes a gwlad. Y mae yngwaith y dysgedigion laweroedd o hanesion sicr i'w gweled, fel nad rhaid i mi yn awr sôn ond am ychydig; er y gallwn ddyfod â digon i brofi ymddangosiadau agos bob blwyddyn. Y mae Mr. Glanvil, Mr. Flavel, ac eraill yn sôn am ymddangosiad Mr. George Sydenham i'r Capten Willam Dyke, y'mhen 6 Wythnos ar ol ei farwolaeth. Fe ymddangosodd Syr George Villiers, dair gwaith, yn rhyfedd i'w was Mr. Parker, er rhybuddio ei fab, y Duc o Buckhingham, ond ni chymerodd rybudd, ac am hyny efe a laddwyd y'mhen ychydig wedi'n, fel y

dywedasai yr yspryd. Un o'r pethau diweddar hynotaf o'r fath hyn yw ymddangosiad Mrs. Veal i Mrs. Baragraph ar ryw amser ganol dydd; yr hon a eisteddodd, ac a chwedleuodd agos i ddwy awr. Y mae y wraig hon yn wraig fonheddig grefyddol iawn; y mae'r hanes i'w weled yn llyfr *Drelincourt* y'nghylch marwolaeth. Y mae'r Dr. Stern yn dweyd ei fod ef yn beth cyffredin yn ynysoedd *Scotland* i rai ddyfod at eu cyfeillion a fo'n marw, i ddeisyf arnynt eu cyfarfod hwynt ar ol eu marwolaeth, y pryd a'r lle a fyddont yn enwi; ac yn gyfattebol hwy a ddeuant, a hwyhwythau a gant yn fynych chwedleua â hwy. 4, Y mae dychweliad eneidiau i'w cyrph drachefn oddiwrth y meirw, yn profi anfarwoldeb yr enaid. Y mae'r ysgrythur yn sôn am amryw a ddaeth yn ol oddiwrth y meirw, i fyw drachefn yn y byd. 1, Mab y weddw o Sarepta, 1 Bren. 17. 2, Mab y Sunamites, 2, Bren. 4. 3, Mab y weddw o Nain, Luc 7. 4, Gŵr o fedd Elizeus, 2 Bren. 13. 5, Merch Jairus, Marc 5. 6, Tabitha, Act. 9. 7, Eutychus, Act. 21. 8, Lazarus, Ioan 11. Y mae hyn yn dangos fod y peth, nid yn unig yn bosibl, ond hefyd yn fynych yn bod; ac am hyny nid oes genym achos i a'nghoelio yn gwbl yr holl hanesion sydd genym am y cyfryw beth. Ac os hyn sy'n bod, y mae'n fawr yn profi anfarwoldeb yr enaid. 5, Y mae gwaith dewiniaid yn syrthio yn farw pan fynant, a'u heneidiau yn myn'd allan o'u cyrph, ac yn cael golwg ar bethau oddiallan yn y byd, ac yn dyfod yn ol drachefn y'mhen ychydig oriau, yn dangos anfarwoldeb yr enaid; neu o'r hyn lleiaf, ei neillduolrwydd hanfodol. *Baxter*. Dewiniaid ydynt yn myn'd i'w cyfarfodydd weithiau yn eu cyrph, weithiau allan o'u cyrph, wrth eu cyffes eu hunain *Glan*. Y mae gwaith y diafol yn sefyll cymaint am eu heneidiau, ar ol eu marwolaeth yn y byd, ac yn mynu gweithred ysgrifenedig oddiwrthynt, wedi ei selio a'u gwaed, yn dangos ac yn profi fod eu heneidiau yn anfarwol. 6, Y mae gwirionedd a chyfiawnder Duw yn profi anfarwoldeb yr enaid; neu o'r hyn lleiaf, ei fod i gael bywyd a bod mewn byd arall. Y mae Duw yn

gyfiawn ac efe a wna gyfiawnder. Ac y mae efe wedi addaw gwobr i'r da, a bygwth cosp ar y drwg; ond nid yw'r drwg a'r da yn cael bob amser yn ol eu haeddiant yma; ac am hyny mae'n rhaid bod lle ac amser arall i wobrwyo. Yn awr, y mae'r holl bethau hyn yn dangos ac yn profi fod enaid, neu yspryd anfarwol, rhyfeddol mewn dyn, a bod yr hwn a'i gwnaeth ef yn dra galluog, doeth, a daionus, ac am hyny i'w ofni, i'w garu, ac i'w wasanaethu.

Dyma brofi yn ddigonol
Fod yr enaid yn anfarwol;
O dangoswn yn ein bywyd
Ein bod yn credu hyny hefyd:

## 5. *Am undeb yr Enaid a'r Corph.*

Creadur ardderchog a rhyfedd iawn yw yr enaid. Rhyfedd yw'r cwlwm a'r undeb sydd rhyngddo a'r corph! Rhyfedd fod meddwl yn gysylltedig wrth dywarchen! Rhyfedd na's gellir ei deimlo, ac etto ei fod ef yn teimlo! Rhyfedd ei fod ef, ac yntef yn feddwl, yn gallu cyffroi corph! Y mae ef yn arglwydd ar y corph, ond eto heb gwbl reolaeth arno. Y mae rhyw ranau o'r corph tan ei reolaeth, a rhanau eraill heb fod felly. Y mae'r rhanau oddiallan sy'n perthyn at weithred tan lywodraeth yr ewyllys; megis y dwylo, y traed, y tafod, a'r cyffelyb. Ond y rhanau tufewnol, y rhai sy'n perthyn yn benaf at fywyd, megis y galon, yr ysgyfaint, y gwythïenau, y cylla, y coluddion, a'r cyfryw, nid ynt gan yr enaid i'w harfer yn ol ei ewyllys ei hun. Ni's gall dyn fyw neu farw pan y myno. Y mae dyn yn byw wrth ewyllys Duw, ond yn gweithio wrth ei ewyllys ei hun. Y mae llywodraeth y galon, a'r gwaed, a'r bywyd wedi eu cadw gan Dduw, megis yn ei law ei hun, fel y byddai i ni ddisgwyl wrtho ef yn wastad am ein bywyd: ond y mae llywodraeth y tafod a'r dwylo, a'r rhanau oddiallan i'r corph, tan reolaeth ein hewyllys ein hunain, fel y bo i ni eu harfer, os mynwn, y'ngwasanaeth ein Creawdwr. Nid yw yr enaid hefyd yn gallu teimlo trwy bob rhan o'r corph; megis yr ewinedd, y blew, y gwallt, a'r

esgyrn eu hunain: ie, y mae yr ysgyfaint yn treulio mewn rhai dynion heb wybod oddiwrthi: a'r ymenydd ynteu, fel y gwyr meddygon, a ddioddef lawer heb deimlo poen. Y mae cariad a thueddrwydd mawr yn yr enaid at ei gorph yn fyw ac yn farw; a dyma un gwahaniaeth mawr rhwng yr enaid ac yspryd arall. Yn y diwedd hwy a gânt eu cyssylltu yn dragywydd, sef yr enaid a'r corph, ac wedi hyny y'nghyd fwynhau Duw gyd ag angylion, neu ddioddef poen gyda chythreuliaid byth.

## 6. *Am Anwydau, Serchiadau, a Thueddiadau yr Enaid.*

Y mae yn yr enaid amryw serchiadau, a thueddiadau i'w gymell ef i wneuthur pob peth yn ddiflinder, ie, gyda hyfrydwch a hoffder, os na bydd ef yn cael ei orchfygu. Dyma'r serchiadau, sef, cariad a chasineb, llawenydd a thristwch, chwant a ffieiddiad, ofn a hyder, gobaith ac anobaith, a digofaint. Y mae y rhai hyn megis breichiau i'r enaid, â pha rai y mae yn ymdrin â phob peth, yn tynu ato, ac yn bwrw oddiwrtho; ac y maent yn perthyn i'r ewyllys, ac yn ei dilyn fel morwynion. Y mae'r tueddiadau a'r gogwyddiadau eilwaith sydd yn yr enaid yn fawrion ac yn rhyfedd; ond y maent i gyd megis yn dibenu mewn un, sef, hwn—daioni iddo ei hun. Y mae tueddiad naturiol pob creadur at ei ddaioni ei hun; er y bydd yr ysgrubliaid, o herwydd eu hanneallgarwch—a dynion, o herwydd eu llygredigaeth, a'u hanystyriaeth yn benaf, yn camgymeryd eu daioni. Y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yma, a'n dyled ninau i'w ofni, i'w garu, a'i wasanaethu.

## 7. *Am amrafael dueddiadau Dynion.*

Gan fod dynion a'r un fath gyrph, yn cael eu maethu â'r un fath ymborth, ac hefyd a'r un fath serchiadau yn eu heneidiau, onid oes rhagluniaeth a doethineb mawr yn ymddangos yn eu gwaith yn bod o amrywiol dueddiadau o ran galwedigaethau yn y byd, gan fod hyny mor angenrheidiol at fyw ynddo, pan nad yw

pob dyn yn alluog i ddarparu pob peth buddiol, a rheidiol iddo ei hun? Ac eilwaith, lle bo'n gofyn eu bod o'r unrhyw dueddiad y maent felly. Y mae pob un yn ceisio ei ddaioni ei hun, a thrwy ddoeth ragluniaeth, yn gwneuthur er daioni eu gilydd, er na byddont yn ei amcanu, o'r hyn lleiaf ond rhai. Y mae yr unrhyw dueddiad mewn dynion gan mwyaf, at gynnal, at genhedlu, ac mewn cariad at eu plant; ond nid yw dynion yr un dueddiad mewn pethau eraill, fel y mae yn dda nad ydynt. Pe byddai pawb am ddilyn dysgeidiaeth, p'le byddai crefftwriaeth? a phe byddai pawb am grefftwriaeth, p'le byddai hwsmonaeth? a phe na byddai neb am hwsmonaeth, p'le byddai bywyd y byd? Y mae dynion yn amrywio yn eu tueddiadau, fel y maent yn eu hwynebau; fel nad oes neb o'r un bryd, na fawr neb o'r un dueddiad. Y'mhellach, y mae ofn angau yn un o'r anwydau cryfaf mewn dyn; ac etto er hyny, y mae math o lewder, a syched am anrhydedd a gogoniant, yn peri i rai dynion ddibrisio eu bywyd a chwbl, a thrwy hyny wasanaethu rhagluniaeth. Ac etto yn rhagor, er cymaint yw'r perygl a'r gofid, wrth ddwyn a magu plant, y mae'r fath dueddiad cryf at genhedliad, ag sy'n pwyso'r cwbl i lawr, fel y byddo i'r byd gael ei gynnal, yr hyn yn sicr ni's byddai, gan gymaint a chynifer yw'r gofidiau sydd yn canlyn y peth, oni b'ai fod Duw wedi gosod y fath dueddiad cryf mewn dynion at genhedliad. A rhyfedd etto, fel y mae Duw wedi cymhwyso a chyfaddasu dynion i'w gilydd. Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw, a dyled dyn, yn ymddangos yn amlwg yn yr holl bethau hyn?

## 8. *Casgliad oddiwrth y cwbl yn nghylch yr Enaid.*

Os bydd i ni iawn ystyried hanfod a pherffeithrwydd Duw, a chyneddfau ac anfarwoldeb ein heneidiau ein hunain, ni's gallwn lai, debygaf, nag ofni Duw a gofalu am ein heneidiau; ond pan na byddo dyn yn adnabod Duw, na'i enaid, ni bydd iddo nag ofni'r naill,

na gofalu am y llall. Gwreiddyn yr holl annuwioldeb, a'r holl ddrygioni, a'r holl fydolrwydd, a'r holl ddirmyg ar grefydd, a'r holl ragrith, a'r holl falchder, a'r holl halogrwydd, a'r holl dwyll, a'r holl a'ngharíad ag sy'n ein plith, yw anwybodaeth dynion o Dduw, a'u heneidiau. Adnebydd Duw, a phecha yn ei erbyn os beiddi. Adnebydd dy enaid, a dibrisia ef os gelli. Gan ein bod wedi derbyn eneidiau perffaith oddiwrth Dduw bydded i ni wasanaethu Duw yn berffaith â'n heneidiau.

---

## PEN. IV.

## AM GORPH DYN.

### 1. *Am natur y Corph.*

NID yw corph dyn, mwy na chyrph eraill, ond daear, ac o'r ddaear, ac yn cael ei borthi â phethau daearol, hyd nes elo drachefn i'r ddaear, ac yn ddaear. Ond etto, y mae'n dra rhyfedd o ran ei wneuthuriad, ac yn hynod yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw. Da y galli'r Salmydd ddywedyd, Ps. 139. 14. "Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed." O'r cywreinrwydd sydd ar gorph dyn! O mor rhyfedd yw pob rhan o hono! Y mae llawer mwy o gelfyddyd yn ymddangos mewn un aelod, nag sydd mewn un gwaith o eiddo dynion. O fel y mae dyn a phethau oddiallan, wedi eu cymhwyso i'w gilydd! Gadewch i ni ystyried pob rhan o gorph dyn, fel y delom i weled, ac i ogoneddu gallu, doethineb, a daioni Duw ynddo.

### 2. *Am y dannedd.*

Gan fod yn rhaid i ddyn fyw wrth ymborth, a'r ymborth yma i gael ei barotoi, trwy ei gnoi a'i falu, cyn cael ei lês, y mae'r dannedd yn dra rhyfedd, wedi eu gosod yn y genau i gyflawni hyny. Y mae'r dannedd yn esgyrn celyd iawn, megis wedi eu gwydro oddiamgylch, o ran nad oes un bilen yn eu cylchu, megis oddeutu esgyrn eraill, i'w cadw rhag awyr a phob gwlybwr: y rhai sydd

niweidiol iawn i'r holl esgyrn, gan y buasai'r cyfryw bilen yn rhwystro un i gnoi a bwytta. Y mae'r dannedd blaen yn gymmwys i dori; a'r lleill, sef y cil ddannedd, i falu'r bwyd, gan fod y naill yn llymion, a'r lleill yn einwon. Y mae'r dannedd yn tyfu hyd y diwedd, gan fod traul arnynt wrth fwytta. Y mae hyn yn amlwg, gan fod y dant a fyddo y'nghyfer dant a gollwyd yn myn'd yn hwy na'r lleill. Y mae 'r dannedd hefyd er prydferthwc' yr wynebpryd, ac yn fawr yn helpu 'r ymadrodd. Y maent yn cael eu cyfrif yn 32 o rifedi. Yn awr onid ydyw gallu, doethineb a daioni Duw yn ymddangos yn pethau hyn.

### 3. *Am y Gwefusau.*

Pwy a all ystyried gwneuthuriad a gosodiad y gwefusau heb ryfeddu? Ac hefyd eu troad mewn cynnifer o ffyrdd? Y maent yn agor i dderbyn y bwyd, ac yn cau i'w gadw i mewn, i gael ei fwytta. Y maent yn helpu dyn i ymadroddi, a'r plentyn i sugno. Y maent yn poeri allan, ac yn yfed i mewn. Y maent yn harddu yr wyneb, ac yn cadw 'r genau. Ac onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw etto yn amlwg yn y pethau hyn?

### 4, *Am y ffynhonau Poer yn y genau.*

Y mae'n beth rhyfedd fod cynnifer o ffynhonau poer yn y genau, i wlychu, i dymeru ac i dochi'r bwyd, fel y cnoer ac y llyngcer yn haws; ac hefyd i'w dreulio yn y cylla, gan fod rhinwedd ryfeddol mewn poer, i beth ferwi a gweithio.

### 5. *Am y Tafod.*

Rhyfedd, a rhyfedd iawn yw 'r tafod. Nid oes ynddo nag asgwrn, na chymal, ac etto, nid oes un llun na's gwna, nag un ffordd na's try. Y mae'r tafod yn trefnu'r Swn neu 'r anadl sy 'n dyfod allan o'r genau, ac felly yn llefaru, ac yn hysbysu'r meddwl. Y mae hefyd yn archwaethu blas bwyd a diod, ac yn rhoi i ni hyfrydwch ynddo, oni b'ai hyny byddai bwytta yn ofid

a byddai dynion yn ddieg i'w wneuthur, neu byddai yr corph yn gwaelu. Y mae'r tafod hefyd yn troi'r bwyd wrth ei fwytta, ac yn ei ddanfon i'w lyngcu.

### 6. *Am y Corn llwngc, a'r Corn chwyth.*

Rhyfedd fel y mae'r corn llwngc yn derbyn y bwyd o'r genau, ac yn cael ei agor â chwech gewyn, fel cŵd â chwech llaw, i'w ollwng i'r cylla. Y mae'n beryglus i'r bwyd fyn'd i'r corn chwŷth, gan hyny y mae drws yn agor, ac yn cau arno. Wrth lyngcu, y mae'r bwyd yn ei wasgu yn nghyd, ac felly yn myned trosto, ac wedi hyny y mae'n agor i'r anadl gerdded.

### 7. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr bydded i ddyn ystyried yn holl bethau hyn y'nghyd, cynnifer ydynt, ac mor anhepgorol i'r bywyd, ac mewn cyn lleied lle y maent, llai na lled llaw, ac ni all ef lai na chydnabod, a rhyfeddu gallu, doethineb, a daioni Duw.

### 8. *Am waith y Genau yn sugno.*

Pa glod a gafodd y rhai a ddyfeisiodd offeryn ar y cyntaf i wneuthur gwagder, trwy sugno'r awyr allan o ryw le neu lestr! A pha mor rhyfedd y mae'r genau wedi ei gymhwyso at hyn o beth! A pha ryfeddach na'r cwbl, fod plant bach pan y genir, y'nghyd a chreduriaid eraill, yn medru gwneuthur hyn! ie erioed er y dechreuad, cyn i neb dynion ddyfod i ddyall natur y gwaith! A pha mor rhyfedd hefyd fod ffordd i'r anadl gerdded trwy'r ffroenau, tra fyddir yn sugno, fel na rwystrer y gwaith! Wedi gwneuthur gwagder yn y genau, y mae pwys yr awyr oddiallan, y'nghyd a phethau eraill, yn gwasgu'r llaeth o'r fron yno, er maeth a chynhaliaeth dyn ac anifail. Yn awr y neb ni wêl allu, doethineb, a daioni Duw yn y pethau hyn, ni wêl ef ddim, ac os ydym yn eu gweled, pa mor rhwymedig ydym i'w garu, ac i'w wasanaethu ef!

### 9. *Am y Cylla.*

Pe bai'r cylla yn gul, fel y corn llwngc a'r coluddion eraill, y rhai ydynt i gyd yn un; a phe bai'r bwyd

yn myn'd trwy'r cylla mor fuan a thrwy'r lleill, ni chai ddim digon o amser i dreulio, i ferwi, ac i ddigoni, fel y byddai iddo roi ei ffrwyth: gan hyny y mae 'r cylla yn fawr, ac yn ddwfn, a'i ddau ben yn uchel, fel y gallo gadw'r ymborth dros dro i dreulio. Ac hefyd, yr hyn sydd yn dra rhyfedd, tra fo'r cylla yn llawn, y mae ei ben pellaf yn uwch; ond pan laeso'r bwyd, trwy dochi a threulio ynddo; y mae'r pen hyny yn gostwng, fel y byddo yn haws i'r bwyd fyned ymaith. Yn y cylla hefyd y mae llawer o ffynhonau i ddwyn gwlybwr, at dochi a threulio'r bwyd; a llawer o linynau i'w dynu y'nghyd i'w arllwys. A ydyw'r pethau hyn i gyd heb ddoeth ragluniaeth?

## 10. *Am Lys y Cylla.*

Gan fod pethau egr a *shiarp* weithiau i'w cymeryd gyda'r ymborth, ac hefyd mewn physygwriaeth; ac o ran y gallai'r pethau hyn o herwydd eu hegrwydd wneuthur niwed; y mae'r Creawdwr wedi trefnu llŷs i fod o ddautu'r cylla i'w diogelu; a pheth fel brethyn felfed i'w gadw yno, rhag iddo gael ei ddwyn ymaith gyd â'r bwyd. Ac onid ydyw hyn yn dangos gallu, doethineb, a daioni'r Creawdwr?

## 11. *Am y Coluddion a'r Cefndedyn.*

Y bwyd wedi cael ei ferwi yn y cylla sy'n cael ei ddwyn i'r coluddion, ac yno y mae'r ffrwyth a'r maeth yn cael eu neillduo i'r gwythienau llaethog sydd yn y cefndedyn; a'r rhan arall sef y soeg, sy'n cael ei ddwyn trwy'r coluddion, y rhai hefyd sydd wedi eu cymhwyso yn rhyfeddol, i'w wasgu a'i yru yn y blaen trwyddynt. Ac ynddynt hefyd y mae amryw ffynhonau i'w hireiddio, a'r rhai hyny hefyd yn fwy ac yn amlach tua'r diwedd, fel y mae'r peth yn ddiffrwythach, ac yn sychach. Yn awr pe bai'r coluddion yn fyrach nag y maent, fe ai'r ymborth trwyddynt, cyn y cai'r gwythienau llaethog sugno'n llwyr y ffrwyth a'r maeth attynt; gan hyny y mae'r coluddion agos yn chwech hyd gwr, ac wedi eu cydio wrth y cefndedyn, i'w cadw yn eu lle, fel y byddo

y ffordd trwyddynt yn rhwyddach: hefyd y mae crychni ynddynt, fel nad elo'r ymborth trwyddynt yn rhy ebrwydd, cyn y ceir y ffrwyth allan yn gwbl. Y mae hefyd amryw gilfachau ynddynt, yn ddiameu, i gadw'r rhan ddiffrwyth o'r ymborth, fel na orfyddo ar ddynion fyned i arllwys eu hunain yn rhy fynych. Yn unig coluddyn yr eisteddfod sy 'n union, fel na byddo i'r pridd gael ei rwystro mwyach yn ddiachos. Heblaw gallu'r coluddion eu hunain i ymarllwys, y mae llinynau o ddeutu'r holl fol i'w dynu y'nghyd, ac i wasgu'r holl goluddion, i'w harllwys yn fwy nerthol, os bydd achos. Ond etto y mae un peth, sy'n rhyfeddach na'r cwbl; sef hyn, nad oes un fodfedd o'r holl goluddion, o'r cylla i'r eisteddfod i fod wrth ewyllys dyn, ond y coluddyn union yn unig sy'n arwain i'r eisteddfod; a'r rheswm o hyn, wrth bob tebygoliaeth ydyw, fel na byddo raid i ddyn fyn'd bob awr, ond y gallo fyn'd i arllwys ac i esmwythau ei hun pan y fyno. Yn awr a oes dim gallu, doethineb, a daioni yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? A oes dim gwasanaeth yn ddyledus ar ddyn?

## 12. *Am y Maeth yn myn'd trwy'r Gwythienau llaethog, ac eraill, i'r galon, ac felly gyd â'r gwaed tros yr holl gorph.*

Yn awr wedi hebrwng soeg yr ymborth hyd allan, nyni a drown yn ol at faeth y corph, yr hwn sydd fel llaeth yn y gwythienau llaethog yn y cefndedyn. Oddi yma y mae'n cael ei ddwyn i fath o gerwyni bychain, lle mae pibellau yn dyfod â math o ddwfr a elwir *Lympha* i gyfarfod ag ef, ac wedi'n y maent yn cael eu dwyn i fynu gyd ag asgwrn y cefn, i wythien fawr yn myn'd â'r gwaed i'r galon. Yma y mae un peth rhyfeddol iawn i graffu arno, sef fod amryw dafodau, neu ddrysau bach yn cau yn y bibell sy'n dwyn y maeth gyd ag asgwrn y cefn i fynu, fel na byddo iddo droi yn ol. A'r man y mae'n myned i mewn i un o wythienau mawr y gwaed, y mae tafod yn agor i'w ollwng ef i mewn, eithr yn cau gyda ffrwd y gwaed fo'n myn'd heibio i'r

galon. Y mae llawer o'r fath hyn yn mhob man yn y corph. Y mae'r cauadau hyn yn anghenrheidiol iawn yn y bibell hon, os ystyriwn nad oes dim llinynau ynddi, fel yn y coluddion, i wasgu ac i yru'r ymborth yn y blaen; ond yn lle hyny fod arteri yma ac acw yn ei chroesi, ac yn ei gwasgu wrth guro, ac felly'r maeth, gan na chaiff fynd yn ol, sy'n gorfod myn'd yn y blaen, ïe, i fynu.

### 13. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr onid ydyw'n amlwg fod amcan a bwriad, a doethineb mawr yn y pethau hyn? gan fod ein bywyd ni yn sefyll ar yr holl bethau gweinion hyn: y rhai a all yn hawdd iawn amharu a myned allan o'u lle, ond heb neb i'w helpu os ânt; onid oedd rheswm gan y Salmydd i ddweud, Ps. 139. 14, Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed? Onid yw 'n ofnadwy fod ein bywyd ni yn sefyll ar y fath bethau gweinion? Ac hefyd yn rhyfedd, heblaw eu rhyfeddol waith, eu bod yn parhau driugain neu gant o flynyddau heb amharu, gan na saif melinau, a chlocciau, a'r cyfryw bethau, nemmawr o amser heb fyn'd allan o'u lle, er eu bod o gryfach defnydd?

### 14. *Am y galon.*

Yn awr yr ydym wedi dyfod at y galon, y gyntaf yn byw, a'r olaf yn marw, yr hon sy'n derbyn y gwaed i mewn o'r gwythienau, ac yn ei dywallt allan eilwaith i'r arteriau, i fyn'd ag ef dros yr holl gorph. Y mae ynddi ddwy ystafell, sef yr un ddehau, a'r un aswy; i'r un ddehau y mae'r gwaed yn dyfod i mewn o'r holl gorph, ac wedi'n gydâg ergyd y galon, y mae'n cael ei dywallt i'r arteri sy'n myn'd âg ef i'r ysgyfaint, ac oddiyno y mae'n dyfod yn ol trwy wythien yr ysgyfaint, ac yn disgyn i'r ystafell aswy yn y galon; yna y mae'r galon gyda phob ergyd, yn ei daflu i'r arteri fawr sy'n myn'd ag ef dros yr holl gorph.

### 15. *Am Gauadau'r Galon.*

Y mae tafod bach, yn cau ac yn agor, ar bob un o wythienau a phibellau'r galon. Y mae'r cauad oddifewn

ar bob un o'r pibellau sy'n tywallt i'r galon, ac oddiallan ar y rhai sy'n derbyn o'r galon. Y mae dwy wythien yn dyfod â'r gwaed i'r ystafell ddehau, a'r cauad ar bob un o fewn i'r galon, rhag i'r gwaed gael ei daflu yn ol, pan fo'r galon yn ymwasgu y'nghyd, i'w dywallt i arteri yr ysgyfaint. Y mae 'r cauad yn yr arteri hon yn y gwrthwyneb, oddifewn, rhag i'r gwaed fyddo ynddi hi ddisgyn yn ol. Y mae cauad gwythien yr ysgyfaint, sy'n dyfod a'r gwaed i'r ystafell aswy, o fewn i'r galon, rhag i'r gwaed gael ei dywallt yn ol, pan fo'r galon yn ymwasgu i'w daflu i'r arteri fawr sy'n ei ddwyn dros yr holl gorph. Y mae cauad hon eilwaith oddifewn iddi hi ei hun, rhag i'r gwaed droi'n ol. Ac fel hyn hefyd, y mae llawer iawn o gauadau ar holl wythienau a phibellau'r corph. Y mae'r gwaed naill ffordd yn agor, a ffordd arall yn cau y rhai hyn.

## 16. *Am nerth y Galon yn tywallt y Gwaed dros yr holl Gorph.*

Y mae'n rhaid bod y galon, yn tywallt y gwaed gyda nerth mawr, gan ei fod yn rhedeg trwy'r arteriau dros yr holl gorph; ac eilwaith wrth yr un nerth yn dyfod i'r gwythienau, ac felly o un i'r llall nes y delo drachefn i'r galon, a hyn o leiaf 24 o weithiau yn yr awr, ïe, lawer yn rhagor fel y dywed rhai. Y mae Borelli enwog yn dangos fod nerth y galon ar bob ergyd, yn gyfattebol i bwys rhai miloedd o bwysau: ac y mae calon dyn yn rhoi mwy na thair mil o'r cyfryw ergydion yn yr awr, a hyny ddydd a nos, yn cysgu ac yn effro, dros driugain neu gant o flynyddoedd.

## 17. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr gan nad yw llinynau'r galon ond meinion a gweinion, rhyfedd iawn nad ŷnt yn blino nac yn methu, yn y fath waith nerthol a dyfal, ganfod gwythi a gewynau'n haelodau ni, y rhai sydd lawer ffyrfach, yn blino mor ebrwydd! Gan fod ein bywyd ni yn sefyll ar hwylusder cynnifer o dafodau a chauadau bach, rhyfedd iawn ein bod ni wedi byw cyhyd! Gan fod

pethau mor ddistadl y'ngolwg dyn, ac ynddynt eu hunain, yn cynnal ein bywyd cyhyd o amser, ïe, yn wir tu hwnt i'r hyn a allai neb ddisgwyl oddiwrth y cyfryw bethau, gwelwn fod Duw, a'i fod ef yn alluog, doeth, a daionus, a bod ein bywyd ni yn ei law ef, a bod arnom ni ei ogoneddu a'i wasanaethu ef.

### 18. *Am anadliad Pibellau a Ffynhonau yr Ysgyfaint.*

Y mae'r ysgyfaint, i ba un, fel y clywsom, y mae'r gwaed yn dyfod o'r galon, ac o ba un y mae'n myn'd yn ol drachefn, yn sugno'r awyr i mewn yn wastadol, ac yn ei hanadlu allan, a hyn tra fyddo bywyd yn parhau, yn gymaint nas gall dyn fyw awr heb hyn o waith. Heblaw'r bibell sy'n dyfod a'r gwaed i mewn, a'r llall sy'n myn'd ag ef allan, y mae pibell yr anadliad, yr hon sydd yn rhedeg rhwng y ddwy hyn, a'i hamryw ranau trwy'r holl ysgyfaint. Y mae eilwaith, trwy ddoeth drefniad, amryw o ffynhonau yn yr ysgyfaint i'w dyfrhau a'i hireiddio, gan ei bod yn dra darostyngedig i sychu wrth anadlu yn wastadol.

### 19. *Cant o Ledr-ewynau yn rheidiol i anadlu.*

Y mae cant o ledr-ewynau yn cael eu harfer, pan yr elom i sugno, neu i anadlu yn gryf. Y mae triugain yn cael eu harfer wrth dynu'r anadl i mewn, a daunaw-ar-hugain wrth anadlu allan, heblaw'r canolfur, neu'r *Diaphragma*, y penaf o'r cwbl, yr hwn sy'n ddau neu dri.

### 20. *Heb Awyr y cwbl yn ofer.*

Rhyfedd fel y mae 'r Arglwydd wedi cymhwyso pethau i'w gilydd! Er bod yr ysgyfaint fel megin wedi ei chymhwyso i anadlu, etto heb awyr wedi ei chynysgaeddu â phwys ac â *spring*, i daro i mewn iddi, pan gaffai fel megin ei hagor, buasai'r cwbl yn ofer. Ond y mae pob un o honynt wedi eu cymhwyso, a'u cyfaddasu fel hyn i'w gilydd. Y mae'r awyr mor a'nghenrheidiol at fywyd, fel nas gallai ddyn fyw awr mewn ystafell hebddi, pe byddai wedi ei sugno allan.

## 21. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Gan fod yr ysgyfaint fel megin, ac nad oes gan ddyn gwael ddim i'w wneuthur at gynnal ei fywyd, ond ei hagor, a disgwyl am i'r awyr ddyfod i mewn, fel y cardotyn tylawd yn disgwyl, yn estyn ei law, ac yn agor ei gŵd i dderbyn y rhodd, neu'r gardod; onid oes ganddo achos i ryfeddu, ac i glodfori daioni Duw tu ag atto, yn ei ddiwallu ef yn y peth hyn, gynnifer miloedd o weithiau yn y dydd, a hyny cyhyd amser, ac yntau mor anniolchgar? Y mae anadl pawb yn llaw Duw, Medd Dan. 5. 23. Ac ni anrhydeddaist y Duw y mae dy anadl di yn ei law, a'th holl ffyrdd yn eiddo. Act. 17. 5. Ac nid â dwylaw dynion y gwasanaethir ef, fel pe bai arno eisiau dim, gan ei fod ef yn rhoddi i bawb fywyd, ac anadl, a phob peth oll. Esay 42. 5.

## 22. *Am ddiben anadliad.*

Nid yw'n ddigon hysbys i'r dysgedigion beth ydyw diben anadliad gyd a bod er lleferydd; pa un ai oeri'r gwaed, neu ei gymysgu ag awyr, neu ryw beth arall; ond hyn sydd yn ddigon sicr, nad oes byw hebddo, a bod y gwaed wedi ei drefnu i ddyfod i'r ysgyfaint i'w gyfarfod ef, a hyny lawer o weithiau yn yr awr dros yr holl fywyd.

## 23. *Am iachusder yr awyr.*

Yn awr nid yw ddigon at gynnal ein bywyd ni fod awyr, a hon yn bwysig, ac o natur *spring*, ond y mae yn gofyn ei bod hefyd yn iachus, ac o iawn dymer; canys yn yr awyr, ac o'r awyr, y mae plâau, a heintiau yn dyfod, ac yn rhedeg dros ddynion. Fe ddarfu i ŵr dysgedig tu draw i'r môr yn amser y chwarren, osod celyrnaid o ddwfr yn agored i'r awyr dros noswaith, heb ddim ar ei wyneb, ond etto o fewn tŷ, ac erbyn y bore yr oedd hân deneu o ryw hufen ar ei wyneb, o amryw liwiau, yr hwn pan dynwyd a'i roddi i gî, a'i lladdodd mewn ychydig oriau. Wrth hyn y mae'n amlwg, pa mor beryglus yw'r awyr, pan fyddo yn heintus.

### 24. *Fod yr awyr yn gadael rhyw beth yn y Gwaed.*

Y mae'r awyr sy'n dyfod i mewn i'r ysgyfaint wrth anadlu, yn gadael rhyw beth yn y gwaed; os bydd i ddyn sefyll lle byddo sawr oyl *turpentine* yn grŷf, fe fydd peth o'r unrhyw sawr yn ei ddwfr.ef: gan hyny y mae'r awyr yn ymgymysgu â'r gwaed yn yr ysgyfaint, ac wed'yn yn myn'd gyda'r gwaed dros yr holl gorph, ac felly bydd rhan o'r peth a fyddo yn dyfod i'r gwaed, yn cael ei neilliduo gyd â'r dwfr i'r bledren.

### 25. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Gwelwn yn awr fod ein bywyd ni yn llaw arall, sef yn llaw Duw, yr hwn sy'n cynnal y môr mawr hyn o awyr, y'mha un yr ydym ni a chreaduriaid eraill yn byw, fel y pysgod yn y moroedd. Gwelwn ein rhwymedigaeth i fod yn ddiolchgar iddo am gynnal ein bywyd cyhyd amser, a chynnal yr awyr hon yn ei hiawn dymmer, er cymmaint o darth afiach yn wastadol sydd yn dyrchafu i fynu iddi, gan nad oes neb a all ei hiachâu, os unwaith y llygra.

### 26. *Am Wythienau'r Gwaed.*

Y mae dau fath o wythienau gwaed, sef yr arteriau a'r gwythienau. Y mae'r arteriau yn myn'd â'r gwaed o'r galon dros yr holl gorph, a'r gwythienau yn dyfod âg ef yn ol drachefn. Y mae un o'r rhai'n gydâ'r llall agos trwy'r holl gorph. Y mae 'r arteriau yn wastad yn curo gyd â'r galon, ac yn gorwedd tan y gwythienau eraill, y rhai nid ydynt yn curo. Y mae'r arteriau yn dechreu yn y galon, a'r gwythienau eraill yn darfod yno. Y mae 'r arteriau yn dechreu yn un fawr, ac wedi'n yn myn'd yn ganghenau llai wrth daenu dros y corph; a'r gwythienau eraill yn myn'd fwy-fwy wrth dynu tua 'r galon, ac yn darfod yn ddwy. Y mae y gwaed yn yr arteriau, yn rhedeg o bibellau mwy i rai llai, ond yn y gwythienau o rai llai i rai mwy; ac am hyny nid oes achos gymmaint o nerth, i ddyfod âg ef yn ol, ag sydd i'w daflu allan.

## 27. *Am gylchdroad y gwaed.*

Y mae'r gwaed y'nghorph dyn yn cylchdroi, ac yn rhedeg oddiamgylch yn wastadol, tra fyddo bywyd ynddo. Mi a roddaf i chwi amcan am ei yrfa ef. Y mae dwy wythien fawr, un oddi fry, a'r llall oddi obry, yn dyfod â'r gwaed i mewn i ystafell ddehau'r galon; oddiyno gyda *chorc* y galon, y mae 'n cael ei daflu i'r arteri sydd yn myn'd âg ef i'r ysgyfaint; oddiyno gyd â gwythien yr ysgyfaint, y mae'n dyfod yn ol i ystafell asswy'r galon, o ba le eilwaith, gyd âg ergyd y galon, y mae'n cael ei daflu i'r arteri fawr, sydd yn myn'd ag ef allan dros yr holl gorph: ac wed'yn y mae'n dyfod i flaen y gwythienau, ac yn myn'd o un i'r llall, ac yn dyfod y'nghyd o bob aelod; nes yr elo o'r diwedd yn ddwy afon fawr, ac felly yn ol i ystafell ddehâu'r galon drachefn. Y neb a welai'r gwaed yn troi yn nghynffon llysywen, trwy spien-ddrych a elwir *Microscope*, ac a ystyriai pa mor nerthol, ac mor wyllt y mae'n dyfod allan o'r wythien, ni ambeuai ef ddim o'r pethau hyn.

## 28. *Pa mor fynych y mae'r gwaed yn troi oddiamgylch mewn awr.*

I wybod hyn ystyriwn, 1, mai rhwng 15 a 24 pwys y sydd o waed mewn dyn, a 12 wns yn y pwys, 2, Fod ystafell aswy'r galon, yn ddigon i gynwys dwy wns. 3, Fod y galon ar bob ergyd wrth ymwasgu yn nghyd, yn taflu'r ddwy wns hyn o waed i'r arteri fawr, yr hon wrth lenwi, a chwyddo yn wastad, sydd yn gwneuthur y pwlsis. 4, Fod 60 pwls mewn munud, ac felly 3600 mewn awr; ac yn ol hyn 7200 wns o waed, neu 600 pwys yn myn'd trwy'r galon mewn awr. 5, Yn gymaint a bod hyn yn fwy o waed o lawer nag sydd mewn dyn, y mae'n canlyn fod yn rhaid fod yr un gwaed yn myned oddiamgylch 24 gwaith yn yr awr; ïe, 575 gwaith mewn diwrnod a noswaith, wrth gyfrif 25 pwys mewn dyn. 6, Y mae Dr. Moulin, Dr. Lister, ac eraill, yn tybied nad oes o waed pur mewn dyn, ond o ddeutu'r ugeinfed ran o'i bwys, ac os felly, y mae'r gwaed yn rhedeg trwy'r galon, fwy na chant o

weithiau yn yr awr. Ond bydded y peth fel y myno, sicr ydyw, ei fod yn troi oddiamgylch yn dra mynych.

## 29. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr bydded i ddyn ddwys ystyried chwidr-droad y gwaed, a mawr nerth y galon a'r arteriau, sydd yn ei dywallt trwy gynnifer o wythienau a phibellau, a hyny dros bedwar ugain neu gant o flynyddoedd; ac hefyd pa mor hawdd y gallai un peth o gynnifer fyned allan o'i le; a pha mor anhawdd, ïe, mor anmhosibl a fyddai gosod y fath beth yn ei le drachefn; a hyn i gyd yn cael ei wneuthur yn ei gorph, heb ei gynghor na'i help ef, na chael gwybod oddiwrtho; bydded i ddyn, meddaf, ystyried hyn i gyd oll, ac ni all efe lai na gwaeddi gyd â'r Salmydd. Ps. 139. 14. Clodforaf dy di, canys ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed.

## 30. *Am amryw Dwyni i droi'r gwaed.*

Y mae un twyn yn ystafell ddehau'r galon, yn attal y gwaed sy 'n disgyn oddi uchod, rhag curo yn ol y gwaed sydd yn esgyn oddi obry; ac yn yr arteri fawr, yn mhen ychydig ar ol dyfod o'r galon, y mae amryw dwyni yn troi'r gwaed i'r canghenau croes, rhag iddo fyned heibio iddynt yn rhy lwyr gyd â'r ffrwd, gan fod yr arteri yno mor ehang. Yn awr onid oes trefniad doeth yn ymddangos yma? a rhwymedigaeth ar ddynion i fod yn ddiolchgar.

## 31. *Y Pwls ni chlywir.*

Er fod y galon yn tywallt y gwaed gyda nerth mawr, ac er bod yr arteriau yn ymwasgu yn gryf i'w yrru yn y blaen, ac hefyd er ei fod yn rhedeg trwy'r corph fel ffrwd gref, etto dyn iach ni chlyw ddim oddiwrth y cwbl, oddieithr iddo deimlo ei bwls a'i fys. Yma eilwaith y mae doethineb a daioni Duw yn ymddangos, gan iddo ein gwneuthur ni yn anheimladwy o'r pethau hyn, fel na rwyster ni yn ein myfyrdod a'u hachosion.

### 32. *Am waith y gwythienau yn cyd gyfarfod.*

Mynych iawn yn y corph y mae'r arteri yn cyfarfod arteri, a gwythien yn cyfarfod gwythien, fel y gallo'r gwaed, os digwydd fod toriad neu rwystr naill ffordd, fyn'd a dyfod ffordd arall. Yma etto y mae rhagluniaeth Duw, a'n dyled ninnau yn ymddangos yn amlwg.

### 33. *Am ddefnyddiau'r gwaed yn gyffredinol, a neillduad amryw Eri.*

Y mae'r gwaed er llawer o ddefnyddiau; megis, 1 Er neillduad cynnifer rhyw eri, naill ai rheidiol, i'w cadw yn y corph, neu yntau afreidiol, ac felly i'w harllwys allan. 2, Er maeth y corph. 3, Er cyffroad y lledr-ewynau. Y mae math o ddwfr a elwir *Lympha*, yn cael ei neillduo oddiwrth y gwaed, mewn llawer iawn o fanau yn y corph; y bustl yn yr afu; math o sudd arall yn y *Pancreas*, ac mewn aneirif ffynhonau hefyd; math o eri yn y cylla, y coluddion, y llygaid, y clustiau, y genau, a lleoedd eraill. Y mae math o eri ysbrydaidd iawn yn cael ei neillduo yn yr ymenydd, ac wedy'n yn rhedeg ar hyd y gewynau, i roi teimlad a chyffroad yn bennaf i'r holl gorph. Y mae'r cerrig etto yn neillduo'r hâd er cynnal y byd, a'r bronau'r llaeth, er maethu'r plentyn, a'r arenau y dwfr a halltrwydd y gwaed. Hyn sydd yn rhyfedd iawn, fod y corph yn treulio cymaint bob dydd mewn tarth anweledig, trwy dyllau'r croen, a'r anadliad, ag y mae ef trwy'r holl ffyrdd gweledig eraill.

### 34. *Am ffordd y Dwfr.*

Y mae yr hyn a yfir yn myn'd i'r cylla, ac oddiyno i'r coluddion, oddiyno i'r cefndedyn, oddiyno i fynu i ystafell ddehau'r galon, oddiyno yn ol i ystafell aswy y galon, oddiyno i'r arteri fawr, ac oddiyno i'r arenau, lle mae 'r dwfr yn cael ei neillduo oddiwrth y gwaed, ac wedi hyny y mae'n myned trwy amryw bibellau i'r bledren, ac oddiyno allan. Nid oes un ffordd i ddim fyn'd o'r cylla i'r arenau, ond trwy'r galon gyd â'r gwaed. Fe ddaw rhyw bethau a yfir trwy ddynion weithiau

mewn haner awr; ond gwŷch fod gwythi i gaead y bledren, fel na b'o i'r dwfr redeg pan na fynir. Gwelwn ddoethineb a daioni Duw, a'n dyled ninau yma.

### 35. *Am y Bustl.*

Y mae'r bustl er daioni i'r corph, yn enwedigol er gwasanaeth yr ymborth, yn y cylla a'r coluddion. Y mae oddiamgylch yn y corph, ac yn dychwelyd yn ol drachefn. Y mae rhai creaduriaid heb fustl iddynt, megis y morloi, y ceirw, a'r rhai sydd â charn cyfan ganddynt, megis y ceffyl a'r cyffelyb. Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw, yn ymddangos yn yr holl bethau hyn, sef trefniad y gwaed, a phob geri, yr hâd, y llaeth, y dwfr, y bustl, ac amryw bethau eraill?

### 36. *Plant yn dyfod o Lwynau eu Rhieni.*

Y mae'r ysgrythur yn dwedyd fod plant yn dyfod o lwynau eu rhieni, yr hyn nis gwyddai neb y pryd hyny yn dda mai felly yr oedd; gan hyny y mae hyn yn profi fod yr ysgrythur trwy ysprydoliaeth Duw, gan ei bod yn mynegu gynt y peth na wybuwyd erioed hyd yn awr yn hwyr, pan y cafwyd fod y gwaed yn troi oddiamgylch yn y corph. A llawer o bethau o'r fath hyn y sydd i ddal sulw arnynt yn yr ysgrythur, Gen. 35. 11. Brenhinoedd a ddaw allan o'th lwynau di.

### 37. *Am y Gewynau.*

Fel y mae'r arteriau yn myn'd â'r gwaed o'r galon dros y corph, a'r gwythienau yn dyfod ag ef yn ol, felly y mae'r gewynau yn dwyn rhyw fath o sudd o'r ymenydd dros yr holl gorph, i roi cyffroad a theimlad i'r holl aelodau: rhai a fynant mai rhyw fath o wynt neu *spirit* yw ef sydd yn myned cynted a mellten trwy yr gewynau, gan mor ebrwydd yw cyffroad yr aelodau: ond nid hyn sydd debycaf.

### 38. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Gwelwn, a rhyfeddwn allu, doethineb, a daioni Duw, y'ngwneuthuriad corph dyn. Pa gynifer rhyw o

bibellau sydd ynddo; pa gynifer o arteriau i ddwyn y gwaed allan, pa gynifer o wythienau i ddyfod ag ef i mewn; pa gynifer o ewynau i ddwyn sudd o'r ymenydd, i roddi cyffroad a theimlad i'r holl aelodau, i'r llygaid, i'r clustiau, i'r genau ac i'r holl gorph! Gan nad oes un gronyn o'r corph heb arteriau, gwythienau, a gewynau o ryw faint, gellir dywedyd eu bod megis yn aneirif; ac etto nid oes un o'r pibellau hyn mor fach, nad oes math o ffrwd yn rhedeg trwyddi.

## 39. *Gewynau wrth, ac allan o'n llywodraeth ni.*

A all neb weled heb ryfeddu fod gewynau o'r un corph, o'r un fath, o'r un defnydd, ac o'r un agwedd, ac etto heb fod o'r un ufudd-dod? Y mae gewynau mwydyn y cefn, yr hwn sydd yn dyfod o'r tu blaen i'r ymenydd, wrth lywodraeth ein hewyllys ni, i gyffroi, neu i beidio a chyffroi y rhanau oddiallan i'r corph, megis y breichiau, a'r cluniau, a'r cyfryw, ond y gewynau sy'n dyfod o'r tu ol i'r ymenydd, ac yn cyffroi rhanau oddifewn i'r corph, a hyny tra fyddo bywyd yn parhau, megis y galon, y cylla, y coluddion, yr arteriau, a'r cyffelyb, nid ydynt wrth lywodraeth ein hewyllys ni. Y rhai sydd at fywyd sydd gan Dduw yn ei law ei hun; ond y rhai sydd at weithred sydd yn ein dwylaw ni.

## 40. *Casgliad oddiwrth hyn.*

Ai fel hyn y mae? gan hyny yn wastad cydadnabyddwn Dduw, disgwyliwn wrth Dduw, clodfodwn Dduw, gwasanaethwn Dduw. Tra fyddo Duw yn gosod y gewynau oddifewn ar waith, at gynnal ein bywyd ni, gosodwn ninnau y rhai oddiallan ar waith at ddyrchafu ei ogoniant ef. Pa mor afresymol yw disgwyl i Dduw gynnal ein bywyd i bechu yn ei erbyn!

## 41. *Am Ewynau'r canolfur (midriff).*

Gan fod yn rhaid wrth hwn i anadlu'n gryf, i ganu, i lefaru'n uchel, neu i waeddi, y mae gewynau rai yn

myn'd iddo, ag sydd tan lywodraeth ein hewyllys ni, y mae'n cael ei gyffro â gewynau eraill, fel y galon, y rhai nad ydynt tan ein llywodraeth ni. Ac fel hyn hefyd y mae yn ngholuddyn union yr eisteddfod. Onid yw doethineb, a daioni Duw, yn ymddangos yma, a'n dyled ninnau?

## 42. *Am lestri'r Lympha.*

Fel y mae'r gwaed yn myn'd trwy'r arteriau, dros y corph, ac yn dyfod yn ol drachefn trwy'r gwythienau, felly yr ydys yn tybied fod math o sudd yn cael ei neillduo oddiwrth y gwaed yn yr ymenydd, ac yn cael ei ddwyn trwy 'r gewynau dros yr holl gorph, ac wedi'n trwy lestri'r lympha, yn cael ei ddwyn yn ol i'r gwaed drachefn; ac felly yn cyflawni math o gylchdroad yn y corph. Y mae llestri neu bibellau'r lympha, yn myned trwy amryw ffynhonau, neu *glands*, ac ynddynt hefyd y mae aneirif o gauadau bach.

## 43. *Am ffynhonau'r Corph.*

Y mae'r rhai'n er mawr-leshad i r Corph, ond nid yw eu holl ddibenion yn hysbys. Rhyfedd iawn gan fod y gwaed yn beth diflas fod yr hyn a neillduir oddiwrtho ganddynt, mewn amryw fanau o'r corph, o amryw flas; yr hyn a neillduir yn yr arenau, sydd hallt; felly hefyd y chwŷs, a dagrau'r llygaid. Yn yr afu y neillduir y bustl chwerw. Yn y bronau llaeth melys. Poer yn y genau. Ac felly yn gyffelyb bethau eraill yn y corph, a phe bai'r neillduaeth yma yn methu mewn un man, byddai agos marwolaeth yn canlyn ond odid. Rhyw bellenau ydynt yn aml yn y corph, a'r arteriau, a'r gwythienau, a'r gewynau, a phibellau'r lympha yn dwyn iddynt, ac etto heb fawr o gyffroad na theimlad ynddynt.

## 44. *Am Bilenau'r Corph.*

Er nad yw yn hysbys eu holl ddefnyddiau, etto sicr eu bod yn gwasanaethu. 1, I orchuddio rhyw fanau, megis yr ais. 2, I wneuthur llestri yn y corph, megis

gwythienau a choluddion. 3, I gydio rhai pethau, megis y cefndedyn a'r coluddion. 4, I ranu celloedd yn y corph, ac i wneuthur y cauadau yn yr holl wythienau. 5, I fod er help i deimlo, fel y tybia rhai. 6, I fod yn rhwymynau yn fynych, pan fyddont yn bibellau, i dynu ynghyd, fel y gyrer yn y blaen yr hyn a fyddo ynddynt, gan fod rhai o honynt a llinynau cryfion trwyddynt.

## 45. *Am bilen dew'r Ymenydd.*

Gan fod yr holl ewynau yn dyfod o'r menydd, a'r bilen hon yn eu gwisgo oll, yr ydys yn tybied ei bod yn gwasgu'r sudd iddynt, yr hwn sydd fel *turpentine*, ac felly eu bod yn gwneuthur cyffroad ynddynt, tebyg i'r hyn sydd yn y coluddion, ac nad yw'r cyffroad yma yn gwbl oddiwrth y galon.

## 46. *Am ystwythdra Pilenau'r Corph.*

Y mae 'n hawdd i ni weled, fod yn anghenrheidiol i'r holl bilenau hyn fod yn ystwyth; ac felly y maent. A'r hwn ni wêl allu, doethineb, a daioni mawr yn yr holl bethau hyn, ni wêl ef ddim. Llawer o bethau yn rhagor sydd yma i'w hystyried, megis tewdra'r corph, y bloneg, y croen, a'r cyffelyb, y rhai ni soniaf yn awr am danynt; canys digon genyf fi ddal sulw ar rai o'r pethau hynotaf yn nghorph dyn.

## 47. *Am Ledr-Ewynau.*

Trwy y rhai hyn yn bennaf y mae dyn yn cyffro, yn ymsymmud, ac yn gweithio. Y maent wedi eu cyfaddasu yn rhyfedd at eu gwaith. Y maent yn fynych yn myn'd trwy eu gilydd, fel edef trwy grau'r nodwydd, i ragflaenu anghymwyster yn y corph. Y maent agos yn llawn trwy'r holl ddyn. Y maent yn dra rhyfedd wedi eu cymhwyso at y cymalau. Rhaid i eu nerth fod yn fwy na'r pwys a fyddont yn ei godi, neu'n gyffro, ïe, weithiau lawer yn fwy na chan cymaint, gan eu bod megis yn tynu'r fraich feraf i'r dafl; ond etto yma y mae doethineb mawr, gan eu bod trwy hyn yn rhag-

flaenu llawer o anghymwyster, ac yn gwneuthur y troad yn llawer cyflymach. Y maent yn dra rhyfedd yn y traed a'r dwylo, ïe, y maent ynddynt yn gryn gyffelyb, fel y gall rhai weithiau, wrth achos mawr, ddyfod i arfer eu traed yn lle eu dwylo. Er rhyfedded yw hyn, etto y mae'n wir, gan fod gŵr mewn man yn ddiweddar, yr hwn a aned heb freichiau na dwylo, ac er hyny a wnai bob peth a'i draed agos ag a wnai dyn arall â'i ddwylo. Efe a ysgrifenai â'i draed yn gyflym, ac yn dra rhagorol, ac a wnae bethau eraill yn rhyfeddol. Y mae'r wyneb yn cael ei gynnal i fynu yn dra hynod, â dau o'r lledr-ewynau hyn yn cyd-bwyso a'u gilydd; canys os bydd i un o honynt ymollwng, fe fydd i'r llall dynu'r wyneb ar dro. A rhyfedd yw nerth y lledr-ewynau yn mhob dyn, ond llawer rhyfeddach mewn rhai dynion. Fel yr ydym yn darllen am wyr nerthol gynt, megis Samson ac eraill; felly y mae rhai etto weithiau i'w gweled. Un William Joy o Gent, a gododd 21 cant o blwn o flaen y brenin William, ac a dynodd geffylau mawrion ar ei ol, er eu gyrru ffordd arall, ac hefyd a dorodd raffau cryfion fel tori edef. Fe fu yn myn'd oddiamgylch o ddeutu'r flwyddyn 1701. i ddangos ei nerth. Nid oedd ef ddim yn ddyn mawr, ond ei fod ef yn ddyn cyfan.

## 48. *Am ryfeddol nerth y Lledr-ewynau.*

Rhyfeddol iawn fod y fath nerth ag y sydd mewn gewynau bychain o gnawd dyn neu anifail. Pan y byddo dyn yn dal ym mron 60 pwys ar ei fraich, y mae gewyn y fraich, yr hwn a elwir *deltoides*, yn arfer nerth o triugain mîl o bwysau. Pan y byddo dyn o gant a haner o bwysau, yn neidio megis dwy droedfedd i fynu, y mae'r gewynau yn rhoi nerth 300 mîl o bwysau. Y mae'r galon ar bob ergyd wrth dywallt y gwaed dros yr holl gorph, yn gosod allan nerth can' mil o bwysau. Y mae BORELLI enwog yn dangos ac yn profi yr holl bethau hyn. Y neb ni choelio'r pethau hyn gwrthbrofed hwynt, neu tawed. Y neb a'u coelia nwynt, gan eu bod yn wir er rhyfedded ydynt, mawryged allu,

doethineb, a daioni Duw y Creawdwr; y mae'n rhaid fod gweithredoedd Duw yn rhyfeddol; nage, oni byddant uwchlaw ein dyall ni, ni chyfrifir mo honynt yn weithredoedd Duw, na chwaith yn iawn yn rhyfeddol.

### 49. *Am yr Esgyrn.*

Yn awr er cymmaint o gelfyddyd, a doethineb sy'n ymddangos yn yr hyn a lefarwyd ynghylch y corph, etto buasai'r cwbl yn ofer, ac fel sâch neu gŵd gwlyb, oni buasai i'r Creawdwr ei gynysgaeddu ef eilwaith ag esgyrn celyd sychion.

### 50. *Am Esgyrn y Pen.*

Y mae llawer o ddoethineb yn ymddangos yn esgyrn y pen. 1, Gan fod ymenydd yn beth tyner a hawdd ei niweidio, a'n bywyd yn sefyfyll arno, y mae phïol o asgwrn yn ei gadw, sef y benglog. Dyn sydd a'r ymenydd mwyaf o'r holl greaduriaid, canys y mae ef mewn rhai yn 4 neu 5 pwys, a chymaint ddwywaith ag ymenydd ych. 2, Nid yw'r benglog o un asgwrn, ond y mae cydiadau ynddo, fel y gallo gymeryd ei wasgu, a chilio peth ar yr enedigaeth, oni buasai hyny gallai'r fam a'r plentyn yn fynych gael eu difetha. 3, Y mae'r tynerwch yma yn lleihau, fel y mae'r plentyn yn cynnyddu mewn oedran, oni ba'i hyny byddai yn niweidiol; ac wedi'n defnydd penaf y cydiadau hyn yw, cynnal cymundeb rhwng pilenau'r ymenydd a'r benglog. Pan y bydd plentyn newydd ei eni, mae'r agoriad ar y coryn lle mae'r cydiadau yn cyfarfod, heb ddim ond pilen arno, fel y gellir teimlo â bys y rhanau oddifewn yn curo, ond yn mhen amser y mae'n cau yn asgwrn caled. 4, Er bod y benglog yn asgwrn caled, etto y mae ynddo amryw dyllau, i fod yn ffyrdd i fwydyn y cefn, a llestri'r gwaed, a'r gewynau eraill, ac amryw bibellau. 5, Yn y clustiau y mae llawer o droion a thyllau, wedi eu gwneuthur mewn esgyrn mor gelyd a chraig, i dderbyn offerynau'r clybod. 6, Yn asgwrn y ddwy rudd, y mae twll i'r awyr fyned o'r trwyn i'r ysgyfaint; heb hyn ni allai un plentyn yn hawdd sugno,

na dynion chwaith gadw gwlybwr yn hir yn eu geneuau. Llawer o bethau bychain gyda hyn sydd i'w hystyried yn y pen, ond etto nid oes un o honynt heb fod i'w ddefnydd anghenrheidiol. A oes dim amcan a bwriad yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? A oes dim gallu, doethineb adaioni, yn ymddangos ynddynt? A oes dim diolchgarwch a gwasanaeth yn ddyledus am danynt?

## 51. *Am asgwrn y Cefn.*

Y mae'r asgwrn hwn yn dra hynod, gan fod cynifer o gymalau ynddo, nad oes eu bath mewn un asgwrn arall, nac achos wrthynt. Y mae twll yn rhedeg trwyddo a thrwyddynt, i'r mwydyn gael ei gadw, yr hwn sydd yn disgyn o'r ymenydd, ac oddiwrth ba un y mae sudd yn cael ei ddanfon i'r gewynau. Rhy faith fyddai adrodd yr holl bethau hynod sydd yn yr asgwrn hwn. Y mae'r ddau gymal uchaf yn amrywio oddiwrth y y lleill i gyd, gan fod yr ail fel pin, neu begwrn, a'r llall ynghyd â'r pen yn troi arno.

## 52. *Am yr Esgyrn eraill, a'r Cymmalau,*

Llawer o gywreinrwydd a doethineb sydd i'w gwel'd yn yr esgyrn eraill a'r cymmalau; megis, 1, Fod yr esgyrn yn gelyd. ac yn sychion, er mwyn cynnal y corph. 2, Fod yr esgyrn yn gau, fel na byddont yn rhy drymion. 3, Fod twll yn rhedeg trwyddynt i'r mêr. 4, Fod yr hwn sydd mewn creadur byw fel olew, yn yr esgyrn rhag sychu gormod a breuhau; ac yn myn'd i ireiddio'r cymmalau. 5, Fod hefyd ffynonau dwfr yn y cymmalau, gan nad oes dim well trwy brofiad, na'r ddau yn nghyd i lyfnhau ac i wneuthur yn llithrig. 6, Fod esgyrn y dannedd yn galettach na'r holl esgyrn eraill. 7, Nid yw'r dannedd mewn plant pan y genir hwynt, gan y byddent niweidiol wrth sugno; ond eu bod yn dyfod, fel y byddo'r cylla yn dyfod yn abl i dreulio bwyd cryf. 8, Fod y cymmalau wedi eu cymwyso, a'u cydio ynghyd yn rhyfeddol, i droi a phlygu.

## 53. *Am ddechreuad yr Esgyrn.*

Y mae dechreuad yr Esgyrn yn rhyfeddol, ie, tu hwnt i ddeall dyn, gan eu bod o wlybwr, ac mewn gwlybwr yn cael eu gwneuthur mor gelyd. Nid ydynt ar y cyntaf ond rhyw lys fel edef sidan, yna yn ewynau, ac wedi'n yn Esgyrn celyd. Y mae'r gwaith yn rhyfedd, gan fod Ysbryd Duw yn ei gymeryd i ddangos byrdra ein deall ni. Preg. 11. 5. Megis nas gwyddost ffordd yr Yspryd, na pha fodd y ffurfheir yr Esgyrn yngrhroth y feichiog; felly ni wyddost waith Duw, yr hwn sydd yn gwneuthur y cwbl. Ni wyddom ni pa fodd y mae Esgyrn cyw yn cael eu ffurfio yn yr wy.

## 54. *Am mor niweidiol yw Olew a Dwfr i'r Esgyrn.*

Er bod olew a dwfr fel y clywsoch, yn dra angenrheidiol i'r esgyrn a'r cymalau, etto nid oes dim fel y gwyr meddygon, yn fwy niweidiol i asgwrn noeth nag olew a gwlybwr. Ac am hyny y mae'r Salmydd trwy ysprydoliaeth, yn cyffelybu melldith Duw i olew a dwfr i'r esgyrn. Ps. 109. 18. Gwisgodd felldith fel dilledyn, a hi a ddaeth fel dwfr i'w fewn, ac fel olew i'w esgyrn. Gan nad oedd hyn yn hysbys yn yr oes hono, mae'n amlwg fod y Salmydd yn llefaru trwy ysprydoliaeth.

## 55. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Gan ein bod wedi cael y fath olwg arnom ein hunain; gan fod cymaint o allu, doethineb a daioni yn ymddangos yn ein gwneuthuriad ni, gan ein bod ni wedi ein gwneuthur mor ofnadwy a rhyfeddol; gan ein bod ni wedi cael ein cynnal, a'n cadw hyd yn hyn; ofnwn, clodforwn, carwn, gwasanaethwn ein gwneuthurwr a'n cynhaliwr.

## 56. *Am y Golwg, a'r llygaid.*

Yn awr yr ydym yn dyfod at y synhwyrau oddiallan; ac O! mor rhyfedd yw'r golwg! Y mae byd o ryfeddodau yn ymddangos yn y llygad. Y mae ei wneuthur-

ad oddiallan yn dra rhyfedd, ond nid dim at ei gynheddfau oddifewn. Y mae arno len, neu glawr i'w gadw rhag niweid, a hwn yn cau ac yn agor yn gyflym ryfeddol, sef yr amrant. 2, Fel na byddo hwn yn rhy ystwyth, ond fel y gallo fod yn gyflymach, y mae ynddo fath o ewyn cornaidd. 3, Y mae'r llygad yn cael ei amgylchu ag esgyrn celyd i'w ddiogelu. 4, Y mae aelau uwchben y llygaid, i gadw'r chwys rhag disgyn iddynt. 5, Rhag i'r llygaid sychu gormod, y mae ffynhonau yn y naill gîl i bob un i'w dwfrhau. 6, Rhag iddynt fod yn tywallt dagrau yn wastadol, y mae ffordd i'r dwfr hwn fyn'd i'r ffroenau. 7, Fel y byddo iddynt gael eu hireiddio a'u glanhau yn wastad, y mae yr amrantau yn taro ynghyd yn fynych. 8, Rhag i'r golwg trwy hyn gael ei rwystro, y maent yn cyflawni hyn yn ebrwydd ryfeddol. 9, fel na orfyddo arnom droi ein penau gyda phob golwg, y mae llinynau i droi'r llygaid. 10, Fel na byddo dim yn eisiau, y mae'r llygad yn grwn, ac mewn twll cyffelyb, fel y gallo droi bob ffordd, a thewdra wrth ei gefn, fel y gallo droi yn gynt ac yn haws.

## 57. *Am gynneddfau'r Llygaid oddifewn.*

Y mae'r llygad wedi ei gyfaddasu yn rhyfeddol i'r goleuni a'r goleuni iddo ynteu, y mae yma bethau rhyfeddach nag y gall yr annysgedig eu dirnad, er mwyn pa rai yn bennaf yr wyf yn ysgrifenu. Gan hyny mi af heibio iddynt, oddieithr ychydig. Y mae'r llygad yn gyffelyb i ystafell dywyll, a fyddo wrth un twll bach, a megis golwg-wydr arno, i ollwng y goleuni i mewn; a'r neb a ddalio bapur gwyn neu liain, gyferbyn a'r gwydr hyn, heb fod yn rhy bell nac yn rhy agos, a gaiff weled lliw a llun pob peth arno, ag a fyddo oddiallan yngolwg y gwydr. Da fod yr haul yn tywynu ar y gwrthddrychau, ond nid ar y gwydr. Y ganwyll yw'r twll bach yn y llygad yn mha un hefyd y mae peth tebyg i wydr, i'r goleuni fyn'd trwyddo; ac fel na bo i ry fychan na gormod o oleuni fyn'd i mewn, y mae hwn yn cyfyngu, neu'n agor fel y byddo yr achos; pan na byddo dyn mewn goleuni mawr, y mae yn-

cyfyngu, fel na byddo i ormod fyn'd i mewn; ond pan yr elo dyn yn ebrwydd oddiyno i le lled dywyll, ni wel ef ond ychydig am dro, nes y byddo i'r ganwyll eilwaith agor i ollwng mwy o oleuni i mewn, gan ei fod mor deneu a gwan. Rhyfeddol etto, fod y llygad yn gallu tynu'r ganwyll, a'r rhan oddiallan weithiau yn nes i mewn, weithiau y'mhellach, a gwneuthur y gwydr weithiau yn wastadach, weithiau yn grynach, yn gymwys fel y byddo'r achos gogyfer a gweled yn agos, neu yn mhell. Rhyfedd hefyd, gan fod pob peth yn tyfu mewn dyn, nad yw'r gwydr yn y llygad yn tyfu, nac yn mwyhau dim, o ran bod yr olwg yn sefyll ar ei faint a'i agwedd.

## 58. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Yn awr, onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? Gan fod Duw wedi rhoi i ni lygaid i ganfod pob peth, ceisiwn ninau ei ganfod ef y'mhob peth, a'i ogoneddu ef am bob peth ac y'mhob lle. Yr ydym heb lygaid ysprydol, os nad ydym yn canfod gallu, doethineb, a daioni Duw yn ein llygaid naturiol.

## 59. *Am un oedd a Llythyrenau yn ei Lygaid.*

Yn y flwyddyn 1701, y daeth plentyn i Lundain o'r tu draw i'r môr, yr hwn oedd o ddautu saith mlwydd oed, ac na lefodd oll er pan y ganwyd ef. Yn ei lygad dehau o ddeutu'r ganwyll, yr oedd y geiriau hyn yn lladin mewn llythyrenau mawr; sef, MEUS DEUS. Fy Nuw. Ac yn y llygad aswy yr un peth yn Hebraeg; sef, ADONI. Bu yn hir yn Llundain i bawb ei weled ag a ewyllysiai. *Post Angel for March.* 1701.

Digon digon o ryfeddod,
Yw ein bod ni yn gallu canfod;
Etto mae y cyfryw bethau,
Yn rhyfeddach amryw weithiau.

## 60. *Am y Clustiau a'r Clybod.*

Os oedd y llygaid yn rhyfeddol, felly hefyd y mae r clustiau. Pe buasai 'r rhan oddiallan i'r glust o bilen ystwyth, fe fuasai yn cwympo i lawr dros y twll, ac yn rhwystro'r sŵn; pe buasai o asgwrn caled, buasai yn anghymwys wrth orwedd, ac ar brydiau ac achosion eraill: ond yn awr y mae yn fath o ledr, yr hwn a gymer ei wasgu, ac eilwaith a naid i'w le drachefn.

## 61. *Am droion a Phibellau'r Glust.*

Y mae'r glust yn llawn troion pibellau, a llinynau. Y mae pibell yn cerdded rhwng y glust a'r genau, gan fod rhai yn clywed yn well â'r genau yn agored; rhai a mŵg tobacco yn dyfod allan trwy'r glust. O herwydd y bibell hon y dywedir, fod rhai yn clywed â'r geneu yn unig. Y mae peth o'r awyr sy'n dyfod i'r genau, yn myn'd i'r glust; ond ni's gall yr anadl sy 'n dyfod allan fyned yn hawdd. Y mae'r anadl sydd yn dyfod o'r ysgyfaint yn rhy laith, ac am hyny y mae yr twll sydd yn myn'd o'r genau i'r glust wedi ei gymhwyso felly, fel yr êl heibio. Mawr yw doethineb a threfniad Duw y'mhob peth. Os y bibell hon a gauir, ni chlyw'r glust hòno ddim, oni agorir drachefn. Y mae ffynhonau yn y glust, yn magu cwyr melyn chwerw a gwydn, fel na bo na rhy sych na rhy wlyb, ac hefyd y mae'r blew a'r cwyr gwydn chwerw hyn yn cadw yr glust rhag i bryfed fyned i mewn,

## 62. *Am wahaniaeth offerynau'r Clybod mewn hen ac ieuangc.*

Y mae rhyw bethau yn y glust yr un modd mewn hen ac ieuangc, a rhyw bethau heb fod felly, ond yn wastad yn gymwys fel y byddo'r achos yn gofyn. Er bod yr holl esgyrn yn tyfu, etto y mae rhai o esgyrn bach a phibellau'r glust, yr un faint mewn hen ac ieuangc, mewn plentyn a hen ddyn; pe na byddent, byddai pob llais yn cyfnewid, fel y byddent hwythau yn tyfu, a hyny a fyddai rwystr mawr; yn enwedig i

blant, i adnabod pethau wrth eu llais. Eilwaith, lle bo achos yn gofyn, y mae gwahaniaeth yn y glust rhwng hen ac ieuangc. Y mae pibell y glust yn agored mewn dyn o oedran hyd bilen y drwm, ond pe byddai yn agored mewn plentyn cyn ei eni, byddai gormod o laithder yn myn'd at y bilen hon, fel na's gwnai ei gwasanaeth; ac am hyny y mae'r bibell hon yn gauedig mewn plentyn pan enir ef; ond bob yn ychydig y'mhen dyddiau wedi hyny, y mae'n cael ei charthu, a'r plentyn yn dyfod i glywed, yr hyn o'r blaen nid oedd, ac ni's gallai.

## 63. *Casgliad oddiwrth y pethau hyn.*

Gwelwn ac ystyriwn, fel y mae'r Arglwydd ei hun yn cymeryd achlysur oddiwrth y glust, i argyhoeddi dynion anystyriol o'i berffeithrwydd. Ps. 94. 8, 9. Ystyriwch chwi rai annoeth yn mysg y bobl; ac ynfydion, pa bryd y deallwch; Oni chlyw yr hwn a blannodd y glust? oni wel yr hwn a luniodd y llygad.

## 64. *Beth sydd i'w ddeall wrth swn.*

Wrth sŵn y mae i ni ddeall. 1, Cyffroad yn y cyrph oddiwrth ba rai y bydd swn yn codi, yr hwn eilwaith sydd yn gwneuthur cyffroad, â math o gryd yn yr awyr, a hono eilwaith yn cyffroi offerynau'r clybod, trwy daro i mewn i'r glust. A'r cyffroad hwn, a elwir gan y dysgedig, y swn cyntaf. 2, Y teimlad, neu'r dirnad a weithir ynom ni trwy'r cyfryw gyffroad. Dyma'r hyn a elwir, yr ail swn. Nid oes i ni dybied am yr hyn a fyddom ni yn glywed, ei fod ef yn y cyrph, neu'r awyr oddi amgylch, canys nid oes ynddynt hwy ddim ond math o gyffroad: megis pan fyddo pin yn pigo, nid oes i ni feddwl fod y poen yn y pin, ond yn unig ei fod yn achos o hono trwy'n teimlad ni. Felly, yr hyn yr ydym yn ei alw llais sy'n cael ei gyfrif yn dechreu yn y glust, trwy'r cyfryw gyffroad yn yr awyr, er nad yw yn briodol, nag yn berffaith yn llais, hyd nes y dirnadir, ac y cydnabyddir ef gan yr enaid, yr hwn sydd wedi ei uno â'r corph mewn modd annealladwy. Ac fel hyn y

gellir cyfrif un swn mewn corph oddiallan, ac un arall yn y glust, ond yn bennaf y mae ef yn yr enaid, trwy ei waith ef yn dirnad ac yn cydnabod.

## 65. *Holl offerynau'r Clybod yn anfuddiol heb Awyr.*

Yn awr, fel y mae 'r holl gywreinrwydd ar y llygad yn anfuddiol heb oleuni, felly hefyd y mae'r holl gywreinrwydd ar y glust yn anfuddiol heb awyr, gan hyny y mae'r Creawdwr wedi gosod byd o oleuni yn yr haul, a môr o awyr o ddeutu'r ddaear. O mor dda y mae'r awyr hon yn gwasanaethu i fyw, ac i anadlu ynddi, ac hefyd i wneuthur sŵn a llais er anhaethol leshad dynolryw! Am hyny gallaf ddywedyd gyd â'r Salmydd, Ps. 107. O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni a'i ryfeddodau i feibion dynion!

## 66. *Am fawr a rhyfeddol nerth ac effaith Cerddoriaeth a Miwsic.*

Y mae gan sŵn a llais, yn enwedigol gan fiwsig, afael mawr ar y serchiadau; ac un rheswm medd rhai yw, am fod y fath gymundeb rhwng gewynau'r clybod a'r rhai pennaf sydd yn perthyn i'r serchiadau. Yr ydym yn darllen am amryw a iachawyd o rai clefydau â miwsic yn ddiweddar. Y mae rhai yn fath feistri cerdd, ag y gwnant yn fynych i un lawenhau a thristhau, wylo a chwerthin pan fynant, nes myned mewn llewyg. Yr ydym yn cael hanes prŷf gwenwynig rhyfeddol ac sydd yn Italy, ac a elwir *Tarantula*, yr hwn pan fratho ddyn, a bair iddo golli arno ei hun, a cholli ei fywyd, oni chaiff feddyginiaeth; ac nid oes dim a'i iacha ond miwsic, ac y mae'n rhaid i'r dôn fod yn ol lliw y prŷf a frathodd. Nid yr un fath dôn a iacha bob un. Diameu fod miwsic yn beth rhyfeddol, ac yn beth rhagorol, er bod ffyliaid yn ei gamarfer. Y mae llawenydd y nefoedd yn cael ei osod allan yn fynych wrth fiwsic a cherddoriaeth. Y mae miwsic yn gwneuthur llawer tuag at lonyddu a lloni yr ysprydoedd, a dyfod a dyn i iawn dymer; ac o herwydd hyny yr

oedd y prophwydi gynt yn ei arfer cyn prophwydo. Medd Eliseus, 2, Bren. 3. 15. Ond yn awr dygwch i mi gerddor. A phan ganodd y cerddor, daeth llaw yr Arglwydd arno ef. 1 Sam. 10. 5.

## 67. *Cymhariaeth y Glust a'r Llygad.*

Y mae gwaith Duw yn rhyfeddol yn y ddau; ond etto, 1, Y mae gwaith y glust yn fwy annealladwy. 2, Y mae y llygad yn gwel'd yn gynt ac y'mhellach nag y mae'r glust yn clywed. 3, Fe all y llygad weithio ar arall, trwy hyspysu rhyw faint o dymer yr Yspryd; ond ni all y glust ddim ond derbyn. 4, Y mae gweled fynychaf, yn rhoi mwy o foddlonrwydd a sicrwydd na chlywed; ac esampl yn drech na chyngor. 5, Y mae'r hwn a enir yn fyddar, yn wastad yn fud hefyd, yn unig o eisiau geiriau ac enwau; gan hyny y glust yn bennaf yw porth gwybodaeth. 6, Y llygad sydd benaf at bethau naturiol, ond y glust sydd benaf at bethau ysprydol, canys ffydd sydd yn dyfod trwy glywed; ac am hyny y maent yn cael eu cyffelybu i Fair a Martha, y glust i Mair, a'r llygad i Martha.

## 68. *Am yr Archwaeth neu'r Blas.*

Fel y darfu i'r Creawdwr, ein cynnysgaeddu ni â llygaid a chlustiau, i weled a chlywed, felly hefyd â gallu i archwaethu a blasu bwyd a diod, fel y gallem ni gyflawni'r gwaith angheenrheidiol hyn heb flinder; ïe, gyda hyfrydwch: canys oni buasai hyn, buasai bwyta ac yfed yn ofid, fel bwyta heb stymog, neu gymeryd physygwriaeth; ac o herwydd hyny buasem yn esgeuluso, naill ai yr amser, neu'r mesur. Ac felly hefyd y mae yn ein heneidiau a'n myfyrdodau: pe na byddai na phleser na phoen i ni oddiwrth unrhyw beth, ni byddem am unrhyw beth yn fwy na'r llall, ac yn ganlynol ni byddem fawr gwell na haner marw. Trefnus iawn hefyd fod yr archwaeth yma yn y genau lle mae'r ymborth gyntaf yn cael ei gymeryd, ac nid mewn un lle arall. Wrth y synwyr yma hefyd yr ydym yn dirnad melus a chwerw, a llawer o naturiaeth

yr ymborth. Yr ydys yn tybio fod llestri ac offerynau yr archwaeth, neu'r blas, yn yr holl enau, ond yn enwedigol yn nhethau bach, a garwder y tafod.

## 69. *Am yr Arogliad.*

Y ma 'r synwyr hwn yn y trwyn a'r ffroenau; ac er bod holl asgwrn y pen yn galed, etto yn dra rhyfedd, y mae asgwrn y trwyn a'r arogliad, fel gwagr yn llawn tyllau, fel y gallo'r arogl fyn'd i mewn gyda yr awyr; canys os bydd i un attal ei anadl; ni all efe ddim arogli. Doeth iawn yntau, gan fod gwynt, ac arogl pêr a drewllyd yn yr awyr, fod y synwyr hwn yn y lle y mae 'r awyr yn wastadol yn tramwy; ac hefyd uwch ben y genau, i roddi i ni amcan am natur y bywyd. Wrth ystyried yr holl bethau hyn, y mae genym achos i lefain gyda'r Salmydd, ac i ddywedyd, Psalm 104. 24. Mor lliosog yw dy weithredoedd, O Arglwydd gwnaethost hwynt oll mewn doethineb: llawn ydyw'r ddaear o'th gyfoeth.

## 70. *Am y Teimlad.*

Y mae'r Arglwydd etto wedi ein cynysgaeddu ni â synwyr arall, sef y teimlad; a hwn sydd o ddau fath; naill ai'n gwaith ni yn teimlo poen, yr hwn sydd trwy yr holl gorph; neu yntau ein gwaith ni yn teimlo pethau oddiallan megis brwd ac oer, tyner a chaled, llyfn a garw, a'r cyffelyb yr hyn sydd yn y croen, yn enwedig yn y tethau bach, trwy ba rai y mae chwys a tharth y corph yn dyfod allan. Gallwn ddeall pa mor llesol yw'r synwyr, sef y teimlad os ystyriwn yr hyn a ddigwyddodd i rai a'i collodd ef. Un wedi colli yr teimlad a'r cyffroad yn y naill ochr, wrth eistedd yn rhy agos at dân, a'i llosgodd yn druenus cyn gwybod oddiwrtho. Gallwn ddal sylw etto, fod y teimlad mwyaf yn y rhanau rheitiaf ei fod megis pen y bysedd, tor y llaw, blaen y tafod, a'r gwefusau.

## 71. *Casgliadau oddiwrth y cwbl a lefarwyd ynghylch y synhwyrau oddiallan.*

Yn awr bydded i ddyn ond ystyried ei synhwyrau oddiallan, eu rhyfeddol waith, a'u rhyfeddol ddefnydd, ac ni all efe lai na chydnabod gallu, doethineb, a daioni Duw ynddynt. Y rhai hyn yw pum porth yr enaid trwy ba rai y mae gwybodaeth yn dyfod i mewn: ac O gymaint o wybodaeth sydd yn dyfod i mewn i'r enaid, trwy bob un o'r pyrth hyn! Y mae yr olwg yn rhoi i ni wybodaeth am y nefoedd a'r ddaear, a'r goleuni; lluniau, a lliwiau, a llyfrau a phethau eraill heb rifedi. Y mae'r clybod yn dwyn i ni wybodaeth am Dduw, ac am feddyliau ein gilydd, a phob peth arall, trwy swn a llais, a chyfryngiad yr awyr. Y mae yr archwaeth yn rhoi i ni wybodaeth am bethau wrth eu blas; ac hefyd bleser yn ein bwyd. Felly eilwaith yr arogliad, sydd yn rhoddi i ni hyspysrwydd ein harogl, sawr, a gwynt pob peth, er mawr ddyddanwch i ni. Ac yn olaf, y mae'r teimlad yn mynegu i ni am yr hyn oll a gyffyrddo â ni, ynghyd a'i naturiaeth a'i dymer. Onid yw'r holl synhwyrau hyn er mawr ddefnydd a a lleshad i ddyn? Ac etto nid ydynt hwy ond offerynau yr enaid, trwy ba rai y mae ef yn dirnad pethau oddiallan tra fyddo yn y corph. Nid ydynt hwy oll ond yr un cnawd, ac yn cael eu maethu â'r un bwyd; ac ni all cnawd byth, na gweled, na chlywed, nac archwaethu, nac arogli, na theimlo. Peth rhyfeddol iawn yw, bod yr un bara yn myned yn offeryn i weled yn y llygad, i glywed yn y glust, i arogli yn y trwyn, i archwaethu yn y genau, ac i deimlo yn yr holl gorph. Onid yw'r gwaith hwn i'w ryfeddu, a'i awdwr i'w addoli, a'i berchen i'w berchi? Yr hwn â'i holl synhwyrau oddifewn ac oddiallan, na allo ddirnad llaw Duw, ac enaid anghorphorol mewn dyn, buasai yn well iddo fod hebddynt. Etto y mae i ni ddal sylw nad oes un o synhwyrau dyn oddiallan, heb fod yn rhagorach mewn rhyw greaduriaid eraill.

*Nos Aper auditu præcellit, Aranea tactu, Vultur odoratu, Lynx visu, Simia gustu.*

## 72. *Am gymhesur allu y Synhwyrau.*

Ystyriais a rhyfeddais yn fynych yn dra gostyngedig, nid yn unig ryfeddol waith a defnydd y synhwyrau, ond hefyd eu cymhesurwydd. Pe buasai'n synhwyrau oddiallan yn graffach, neu yn bylach, ni buasent mor fuddiol a chymhesur. Pe buasai ein llygaid fel y spien ddrychau a elwir Microscopes, buasem yn canfod miloedd o greaduriaid bychain na wyddom yn awr oddiwrthynt; ond buasai hyn yn gweithio atgasrwydd ynom at lawer o'r pethau goreu, megis at gaws, pan y buasem yn canfod y gwyddon yn greaduriaid mawrion blewog ynddo; fel gwr unwaith ag oedd yn edrych trwy Ficroscope arnynt; yr hwn a dynodd ei law yn chwimwth mewn ofn, pan welodd un o honynt yn cwympo, nes ydoedd yr holl gwmpeini yn chwerthin: ac hefyd ni's gallasem ganfod dim a fuasai uwch modfedd neu ddwy oddiwrthym, neu yn fwy nag un o dywod y môr. Eilwaith pe buasai ein llygaid fel y spien ddrychau a elwir Telescopes, buasem yn canfod bydoedd mawrion yn y ser, a miloedd o honynt na welsom erioed; ond yn lle hyny, ni welsem ein hunain, na 'u gilydd, na 'n ffyrdd, na 'n gwaith. Hefyd pe buasai'n harogliad fel y mae mewn rhai cŵn, buasai sawr pob dyn, pob creadur, a phob peth yn llenwi ynom yn wastad, ac yn ein blino drachefn. Hefyd pe buasai ein harchwaeth yn llawer cryfach nag y mae, hawdd deall na buasai ond chwanegu ein gofid. Eilwaith, pe buasem yn gallu clywed pob peth yn mhell ac yn agos, yn gystal ag y clywir o bell trwy gorn mewn clust, ni chawsem yn hawdd, iawn feddwl am ddim gan y twrddan; canys buasem yn wastad fel mewn marchnad, ac ynghanol drymau a gynau. Yn olaf, pe buasai ein teimlad yn mhob man dros y corph, fel y mae mewn rhyw fanau, yn enwedig yn y llygad, buasai yn ofidus arnom i orwedd ar blŷf. Fel hyn ni a welwn,

pe buasai ein synhwyrau oddiallan yn fwy, na fuasent mor fuddiol. Y mae'n hawdd i ni ganfod etto, nad da oedd eu bod yn llai, gan mor ddrwg a gofidus genym, yw eu bod yn methu dim. Yn awr gan hyny ystyriwn, cydnabyddwn, clodforwn, a mawrygwn allu, doethineb, a daioni Duw, yr hwn a gymhesurodd fel hyn ein synhwyrau i ni yn y modd goreu.

## 73. *Ychydig bethau yn rhagor am y Galon, a'r Anadliad, a'r Gwaed, ac amryw gyflyrau, a bywioliaeth dynion.*

Pa beth sydd yn peri i'r galon guro tra fyddo bywyd yn parhau sydd yn ddirgelwch mawr: rhai sydd yn tybied, fod ei gewynau yn ei thynu ynghyd, a phwys a nerth yr awyr yn ei hagor. Y dyn dewraf sydd a'r galon leiaf. Nid yw calon y llew ond calon fechan iawn. Y mae calon anifail ynghanol ei gorph, ond calon dyn sydd yn nes at ei goryn nag at ei draed, a'r achos o hyn, fel y tybir, yw, am fod dyn yn sefyll yn fwy union nag anifail, ac am hyny y byddai yn anhawssach i'r galon dywallt y gwaed yn mhell i fynu. Ysgyfaint plentyn a enir yn farw a sodda mewn dwfr; eithr ysgyfaint plentyn a enir yn fyw, a nofia pe bai ond anadlu chwech o weithiau. Wrth hyn y gellir gwybod amcan am blant menywod drwg, a geir yn farw, a fyddant wedi eu geni felly, fel y byddant hwy yn haeru, neu na fyddant. Y mae'r gwaed megis yn ffynon bywyd corphorol. Y mae ffordd ryfedd gan rai i hebrwng y gwaed o un creadur i'r llall, os hebryngir gwaed o wythien ci ieuangc i mewn i wythien hen gi, fe wna hyny yr hen gi yn fwy bywiog, a'r un modd creaduriaid eraill. Y mae tair ffordd neillduol ddyn fyw. 1, Ynghroth ei fam. Yma y mae yn cael ei faethu trwy ei fogail: a phe byddai yn bosibl iddo ddirnad fod yn rhaid iddo ddyfod i'r byd hwn, efe a ryfeddai ac a ofnai. 2, Yn y byd yma, lle mae ganddo amgenach ffordd i fyw nag o'r blaen: Y mae yn ofni myn'd oddiyma, ac yn rhyfeddu pa fodd y gall ef fyw mewn modd arall. 3, Mewn byd arall: Y mae y

ffordd i fyw yno, yn rhagori cymaint ar hon ag ydyw hon ar y ffordd o'r blaen. Y mae dyn yn ddieithr i'r ffordd hon, fel yr oedd ar y cyntaf i ffordd y byd hwn; ac etto mae mor sicr a'r llall. Anystyriaeth yw'r achos o anwybodaeth, ac anwybodaeth, o anymroad, ac anymroad o golled.

## 74. *Am agwedd y Corph.*

Ystyriwn gorph dyn yn mhob ystyr, ac ni a gawn weled ei fod ef yn mhob peth yn y modd goreu. Os ystyriwn ei agwedd ef, sef, yn sefyll yn unjon i fynu, bydd hawdd i ni wel'd a deall nad oes un ffordd well, odidoccach, deheuach, na chymwysach iddo, gogyfer a chyflawni ei achosion yn y byd.

## 75. *Am ddull a llun y Corph.*

Ystyriwn ddull a llun y corph, ac ni a welwn fod hyn eilwaith yn y modd goreu. Pe buasai dyn yn bysgodyn, yn ymlusgiad, yn bedwartroediog, neu yn aderyn rhesymol, ni buasai mor gymwys i'w achosion yn y byd. Y llun sydd, yw'r llun goreu.

## 76. *Am faintioli'r Corph.*

Ystyriwn etto faintioli'r corph, ac ni a gawn weled ei fod yn gyfattebol i achos dyn yn y byd. Pe buasai lawer yn llai, buasai yn rhy fach, ac fe fuasai dyn yn cael ei ddamsang dan draed gan bob creadur, ac ni fuasai yn gymwys i gyflawni ei achosion. Pe buasai lawer yn fwy, buasai yn ormod, ac ni fuasai digon o ymborth iddo, ac hefyd buasai yn rhy drwm i'r creaduriaid, ac felly yn anghymwys i'r byd hwn ar lawer cyfrif; eithr yn awr y mae yn y modd goreu. Er bod cawri gynt, a rhai etto, er hyny yn gyffredin, y mae dyn o amgylch yr un faint er y dechreuad. Nid oedd y cawri ond dynion rhyfedd yn mhob oes, yr oedd Goliah yn 12 troedfedd agos, ac amryw yn 9 troedfedd. Yr ydym yn darllen am rai yn perthyn i Emprwr China, yn 15 troedfedd. Mesurodd Mr. Derham Wyddyl tan 20 oed, yn 7 troedfedd 8 modfedd; a

menyw yn 7 troedfedd 3 modfedd. Y mae Brenin Prussia yn awr * wedi mynu Gard o wyr, ac sy'n 8 troedfedd 2 fodfedd bob un, a rhai yn rhagor. Fel y bu rhai mawrion, felly y bu rhai cryfion iawn y'mhob oes hyd heddyw.

### 77. *Am wneuthuriad amryw ranau'r Corph.*

Ystyriwn wneuthuriad amryw ranau'r corph, ac ni a gawn weled fod pob peth yn y modd goreu. Y mae pob rhan o'r defnydd cymhwysaf, ac yn y modd cymhwysaf, heb ddim yn gobleraidd, eithr y cwbl yn gyfattebol i'r achos. Y mae cydffurfiad a chysondeb rhwng dyn ac anifail, cyn belled ac y byddo yr achos, ei swydd, a'i wasanaeth yn gofyn, ond os bydd yr achos a'r gwasanaeth yn amrywio, felly y bydd yr aelodau, ac amryw ranau'r corph.

### 78. *Am gyflead amryw ranau'r Corph.*

Ystyriwn gyflead amryw ranau 'r corph, ac ni a gawn weled eu bod i gyd yn y lle a'r modd goreu. P'le gwell fod unrhyw beth na'r man lle mae? Y mae y pen, y glust, y llygad, y tafod, y breichiau, y galon, y traed, a'r cwbl yn y lleoedd cymhwysaf. Y mae holl ranau 'r corph wedi eu cyfleu, a'u cymhwyso, a'u cyfaddasu i eu gilydd yn rhyfeddol.

### 79. *Am allu'r Corph i ragflaenu, ac i iachau Clefydau.*

Ystyriwn allu a chymwyster y corph i ragflaenu, ac i iachau clefydau, ni a gawn achos i ryfeddu, ac i ganmol gallu, doethineb, a daioni Duw. Y mae ein Synhwyrau oddiallan yn gwasanaethu i ragflaenu drygau, ac y mae natur oddifewn yn dra rhyfedd yn mhob ffordd, yn gweithio drygau allan. Y mae nattur weithiau yn bwrw pethau niweidiol allan o'r corph mewn ffyrdd anarferol a rhyfeddol. Y mae cerrig eirin, a'r cyffelyb, yn tori allan weithiau trwy gyrph rhai, wedi bod 5, neu 8, neu 10 mlynedd yn y corph. Y mae clefyd weithiau yn dwyn un arall ymaith gyd ag ef.

* 1725.

Daniel Fraser, oedd fud a byddar, hyd y 17 o'i oedran; a'r amser hwn ar ol twymyn, yr oedd yn dirnad rhyw gyffroad yn ei ymenydd, ac ar ol hyny, fe ddaeth i glywed, ac i lefaru.

### 80. *Am gyd-deimlad amryw ranau 'r Corph.*

Ystyriwn gyd-deimlad, cyssondeb, a chynghanedd yr holl gorph, ac ni a gawn weled ei fod ef yn rhyfeddol a buddiol. Y mae pob rhan yn angenrheidiol, a phob rhan yn cyd-deimlo, yn cydofalu, yn cydlawenhau, ac yn cyd-ddioddef. Medd St. Paul, 1 Cor. 12. 18, 24, 25, 26. Yr awr hon Duw a osododd yr aelodau, bob un o honynt yn y corph, fel yr ewyllysiodd efe. Ni all y llygad ddweyd wrth y llaw, Nid rhad i mi wrthyt: na'r pen chwaith wrth y traed, nid rhaid i mi wrthych. Eithr Duw a gyd-dymerodd y corph, fel na byddai anghydfod, eithr bod i'r aelodau ofalu yr un peth dros eu gilydd. A pha un bynnag ai dioddef a wna un aelod, y mae'r holl aelodau yn cyd ddioddef; a'i anrhydeddu a wneir un aelod, y mae'r holl aelodau yn cydlawenhau. Ac fel hyn y mae cyd-deimlad cyffredinol yn y corph; ac etto y mae rhyw gydnaws neillduol rhwng rhyw ranau o hono.

### 81. *Am amryw wynebau, lleferydd ac ysgrifen-law dynion.*

Ystyriwn amryw wynebau, lleferydd ac ysgrifen-law dynion, ac ni a gawn achos i ryfeddu gallu, doethineb, a daioni Duw. O gynnifer o wynebau, lleferydd, ac ysgrifen-law sydd yn y byd, yn agos, ac yn debyg i'w gilydd, ac etto yn amrywio, fel na bu, nad oes, ac na bydd un yn gwbl gyfan fel y llall! O mor angenrheidiol yw'r peth i fod felly! Y mae'r peth yn dda, yn gymwys, ac yn oreu ar lawer cyfrif. Heb hyn ni byddai na'n personau, na'n meddianau'n ddiogel. Y mae dynion i'w hadnabod wrth eu hwynebau yn y goleuni, wrth eu lleferydd yn y tywyllwch, ac wrth eu ysgrifen-law yn absenol, ac ar ol eu marwolaeth. Rhyfeddwn a chlodforwn ragluniaeth Duw.

## 82. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Yn awr, wedi cymeryd golwg fel hyn ar ddyn, a chael fod pob rhan o hono, ynghyd a phob peth sy'n perthyn iddo, wedi eu gwneuthur yn y modd goreu, heb ddim yn gobleraidd, eithr y cwbl yn dra chywrain, gwelwn nad nad yw ef ddim yn beth wedi ei wneuthur o ddamwain, ond gan Greawdwr galluog, doeth, a daionus; yr hwn gan hyny a ddylai gael ei ofni, ei garu, a'i wasanaethu. Os ydyw dyn, fel yr haera'r Atheist, neu'r didduw, wedi ei wneuthur o ddamwain paham na byddai tai, a llongau, a'r cyffelyb, yn cael eu gwneuthur o ddamwain hefyd, gan eu bod yn llawer haws? Na fydded i ni gymeryd ein rheibio gan ddiafol, a'n dallu gan ein pleserau a'n chwantau drwg felly, fel y byddo i ni gyfrif gwneuthuriad y creadur penaf yn y byd i beth na wnaeth ef greadur erioed: eithr bydded i ni yn hytrach gyda Dafydd waeddi allan a dywedyd, Clodforaf dydi, canys ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed; rhyfedd yw dy weithredoedd, a'm henaid a wyr hyny yn dda.

## 83. *Am hedyn, a dechreuad pob creadur.*

Y mae'n sicr meddant fod pob dyn, a phob creadur byw yn dyfod o hedyn; yn yr hwn y bydd yr holl gorph a'r aelodau, wedi eu dirwyn i fynu fel edef mewn pellen, er na bydd ond cymaint a thywodyn. Y mae yn sicr yn awr, nad oes un creadur yn cael ei genedlu gan yr haul, neu gan wres a lleithder yn unig, a'r cyffelyb, fel y tybiodd rhai gynt, ond y mae pob creadur bach a mawr o bob rhyw, yn cael ei genhedlu rhwng gwryw a menyw, ac yn dyfod o hedyn. Tybir fod yr hedyn yma yn y fenyw, a bod mewn gwraig o ddautu deugain o honynt, ond bod yr hyn sydd yn ei gyffroi ac yn ei agor, ac hefyd yn rhoi cyfraith a deddf i'r corph, yn ol pa un y bydd yn cael ei wisgo â chnawd, yn dyfod oddiwrth y gwryw. O herwydd y ddeddf hon y y mae, fod yr hyn sydd yn awr yn wenith, pan fwyteir gan anifail, yn myn'd yn gwnawd anifail; a'r anifail yma eilwaith pan fwyteir gan ddyn, yn myn'd yn gnawd

dyn. Ac felly mae mewn pethau eraill. Y mae corph pob creadur byw, a choed a llysiau, yn dyfod o hedyn, ond nid oes dim yn dyfod trwy achosion damweiniol, megis llygriad a'r cyffelyb, yn gyfan ac yn gwbl. Eithr y modd y mae bywyd yn dyfod mewn dyn ac anifail, sydd yn dywyll iawn. Tybia rhai fod math o fywyd gwan, neu rinwedd fywiol, yn hedyn pob creadur er y dechreuad, fel y mae bywyd pren a llysieuyn yn yr hedyn, ond nad yw yn ymddangos ac yn gweithredu, hyd nes delo, ac fel y delo ei offerynau corphorol i addfedrwydd. Y mae yn sier fod yr enaid mewn plentyn yn dyfod i weithredu yn ol addfedrwydd a hwyldeb ei offerynau corphorol. Paham na's gall bywyd fod mewn hedyn, heb weithredu, yn gystal ac y gall tân fod mewn carreg heb wres na goleu.

## 84. *Am ffrwythlondeb rhyfeddol rhai dynion.*

Thomas Greenhill o Lundain, oedd yr Ieuengaf o 39 o blant i'r un gŵr a gwraig, ond nid wyf yn deall i un bonynt fyw i briodi. Nicholas Hooks o Gonwy, gwr bonheddig, oedd yr ieuengaf o 41 o blant i'w dad a'i fam; ac yn dad ei hunan i 27 o blant. Yr ydys yn sôn am bentref yn Spain o gan teulu neu ragor wedi dyfod i gyd o'r un gwr, ac yntau ei hunan yn fyw. Yr ydym yn clywed am un oedd yn feichiog yn naw mlwydd oed. *Post Angel* for 1701. Yn y Flwyddyn 1722, y ganed plentyn i wraig yn 86, oed, Yr ydys yn son am rai a esgorodd ar lawer o blant ar unwaith; sonir am un a esgorodd trwy farn Duw, ar 365, ond diameu os gwir y peth, nad oeddynt ond bychain iawn. Y mae llawer yn gweled eu pummed cenhedlaeth. Un Mrs, Honywood o Gent a welodd ei phummed Cenhedlaeth, er nad oedd ond 93 yn marw, yn y flwyddyn 1620: bu iddi 16 o blant ei hunan, 114 o wyrion, 228 o orwyrion. Gallai hon arfer yr hen ymadrodd hwn; Cyfod ferch, a dos at dy ferch, canys y mae merch ei merch hi a merch fach iddi. Dyma'r wraig a sonir am dani yn Nhrugaredd a Barn, iddi daflu'r glass diod yn erbyn y pared, pan oedd tan amheuon, ac ni thorodd.

## 85. *Am Rifyddiaeth.*

Gan y bydd genyf achos i son am rifau a symau mawrion yn fynych, mi roddaf daflen i'r anghyfarwydd yma, yr hon a'i hyfforddia ef, os bydd yn medru rhifo swm o 6 ffigur, i rifo unrhyw swm, hyd at 60 ffigur. Y 6 ffigur olaf ydynt gynifer o unau, y 6 nesaf ydynt gynifer o filiynau, a'r 6 nesaf at hyny ydynt gynifer o biliynau; ac felly yn y blaen.

| Noniliynau, | Ochiliynau, | Septiliynau | Secstiliynau. |
|---|---|---|---|
| 999999 | 999999 | 999999 | 999999 |
| Cwintiliynau | Cwatiliynau | Triliynau | Biliynau |
| 999999 | 999999 | 999999 | 999999 |
| | Miliynau | Unau | |
| | 999999 | 999999 | |

---

# PEN. V.

## *Am y Byd Daearol, yn enwedigol, Awyr, Goleuni, a Phwys.*

WEDI son fel hyn am ddyn, y llywodraethwr, mi soniaf ychydig etto am ei dŷ ef, sef y byd. Gan fod gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn y naill fel y llall. Fe greodd Duw ddyn wedi gwneuthur ei dŷ ef, sef y byd, yn gyntaf yn barod, ac hefyd ei drefnu, ei drwsio, a'i gynnysgaeddu â phob peth angenrheidiol. Ni soniaf yn awr ond am y ddaear a'i pherthynasau, lle mae dyn wedi ei osod i gyfaneddu. Y mae tri pheth megis oddiallan i'r ddaear, ac etto yn berthynasau iddi; sef awyr, goleuni a phwys.

## 1. *Am y Môr o Awyr sydd yn amgylchu 'r Ddaear.*

Y mae môr o awyr yn amgylchu'r ddaear a'r moroedd, er nad yw yn weledig. Nid yw pwys yr awyr mewn cymariaeth a'r dwfr, ond fel un i fil; mae 18 pwys o awyr ar bob modfedd ysgwar. Ac wrth hyn y mae pwys yr holl awyr o ddeutu 'r ddaear, yn 8 triliwn o bwysau Troy. Y mae hyn yn dangos fod yr awyr yn cyraedd yn mhell i fynu, ac etto y mae rhai mynyddoedd yn y byd, mor uchel, nas gellir yn iawn anadlu, na byw yn hir arnynt. Fe gymer yr awyr ei gwasgu a'i thewhau, a'i chynwys mewn llai o le nag y bydd bryd arall; ond ni all dyn nac anifail fyw mewn awyr rhy dew, na rhy denau. Y mae'r awyr tua'r ddaear yn cael ei gwasgu ynghyd gan ei phwys ei hun, ac am ei hun; ac am hyny y mae'n dew i wared, ac yn denau i fynu, canys y mae o nattur spring. Pe byddai ei phwys yn cael ei gymeryd ymaith, cadwai gymaint o le ag yn awr 13 mil o weithiau. Y mae'r awyr yn dra anghenrheidiol, er bywyd, iechyd, cysur, a gwaith yr holl ddaear. Heb hon ni's gall y creaduriaid ar y ddaear, nac yn y dyfroedd fyw. Ni's gall y rhan fwyaf o greaduriaid fyw hebddi uwch haner munud, na'r creaduriaid eraill ond ychydig amser. Hebddi ni's gall coed a llysiau fyw na thyfu. Hebddi ni's gall yr adar hedfan, na'r pysgod nofio. Hebddi ni's gellir clywed swn, na gwneuthur miloedd o bethau eraill. Hebddi ni's gellir cael gwynt na chymylau, na gwlith, na gwlaw; y rhai fel y gwyr pawb sydd yn dra angenrheidiol. Heb wynt byddai yr awyr yn bwdr, yn llygredig ac yn afiach; ac heb wlith na gwlaw, byddai 'r ddaear yn sych, ac yn ddiffrwyth. Nid yw gwynt ond ffrwd yr awyr. Y mae'r awyr yn cydymbwyso, a phan fo rhan o honi yn teneuhâu, ac yn ysgafnhau trwy wres, neu ran arall yn trymhau trwy oerfel, tarth, cymylau a gwlaw, neu ryw beth cyffelyb; bydd yn dechreu ffrydio wrth ei phwys, o un man i'r llall. Nid yw'r cymylau a'r glaw a'r tarth ond pledreni bach anweledig o ddwfr, neu leithder trwy wres yr haul, neu'r ddaear, neu bob un,

a chan fod y tarth, neu'r anwedd hyn yn ysgafnach na'r awyr, y mae'n dyrchafu i fynu fel corc i wyneb y dwfr. Ond pan gydio'r tarth, neu'r pledreni bach hyn eilwaith yughyd, trwy wasgu yr oerfel, a myned yn drymach na'r awyr, deuant i lawr yn wlith, neu yn wlaw, yn eira, neu'n gesail. Ni soniaf yn awr ond ychydig yn unig yn y cyffredin am drefniad a gwasanaeth pethau, gan feddwl mewn lle arall i ddal sylw mwy manwl ar eu naturiaethau. Onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn awr yn amlwg ynghread, trefniad, a gwasanaeth yr awyr? Oni ddylem ni gan hyny ofni, rhyfeddu, caru, clodfori, addoli, a gwasanaethu y fath Greawdwr.

## 2. *Am y goleuni.*

O mor rhyfeddol, mor anghenrheidiol, ac mor gyssurus yw'r goleuni i holl greaduriaid y byd! Pa fywyd, pa gyssur, a pha wasanaeth hebddo! Eithr yn awr, trwy hwn y creadur cyntaf, am ei fod yn anghenrheitiaf, y gall pob creadur byw fyned yma a thraw, a gwneuthur ei waith; ac y gall dyn weled gogoniant a rhyfeddodau Duw yn y nefoedd a'r ddaear. Y mae pedwar peth enwedigol i'w hystyried a'u rhyfeddu yn y goleuni. 1, Ei gyflymdra, yn dyfod mewn 7 neu 8 munud oddiwrth yr haul attom ni, yr hyn sydd o ddeutu dau can mil o filltiroedd bob moment; neu gymaint a phum can tro o ddeutu'r ddaear bob munud. Pe buasai yn dyfod ond cyn gynted a bwlet o ganon, o ddeutu 6 milltir bob munud, buasai o ddeutu 25 o flynyddau yn dyfod attom ni; ac 20 o flynyddau, pe buasai'n dyfod cyn gynted a swn, o ddeutu 10 milltir bob munud. Yn awr pe buasai'r goleuni fel hyn, ni buasai mor wasanaethgar. Ni buasai'n iawn yn goleuo, nac yn gwresogi. 2, Ei daeniad, ei gyraedd, a'i helaethder. Y mae'n myn'd i ddiben byd, i bellder anfesurol, y tu hwnt i ddeall dyn. Oni bai ei daeniad tra rhyfeddol, ni's gallem ni ddim gweled pethau pell. Eithr yn awr trwy hyn yr y'm yn gweled y ser pell y rhai sydd mor belled, fel y mae'r goleuni er cyflymed yw, cyhyd yn dyfod oddiwrthynt attom ni ac y byddir yn myned i'r

West Indies, yr hyn fynychaf sydd yn 6 wythnos. 3, Ei liwiau. Yr ydys yn deall yn awr, nad yw pob lliwiau ond amryw fath o oleuni. Nid yw lliw coch ond goleuni coch; a lliw glas ond goleuni glas; ac felly lliwiau eraill. Nid oes ond saith o brif liwiau, ac nid ydyw 'r lleill ond cymysgedd o'r rhai hyn. Rhyfedd yw'r natur sydd mewn un peth, i ddychwelyd un math o oleuni, a pheth arall i ddychwelyd math arall o oleuni; a hyn yw'r achos fod pethau o amryw liwiau. Nid yw du ond tywyllwch, a gwyndra ond cymysg perffaith o bob lliwiau. Ac, O, mor dda yw bod amryw liwiau yn y byd! 4, Ei wresogrwydd. Y mae'r goleuni naill ai yn dân, neu yntau yn dwyn llawer o dân gydag ef, i gynesu yr holl fyd. Ac O pa fath fyd fyddai yma heb dân na goleuni! Onid ydyw gallu, doethineb a daioni Duw yn ymddangos yma? Ac oni ddylem ni ofni, caru, a gwasanaethu y fath Greawdwr.

### 3. *Am Bwys.*

Wrth bwys yr ydwyf yn deall, tueddrwydd a chwymp pob corph tua chanol y ddaear. Y mae pwys pob peth yn wastad yn gyfattebol i'w ddefnydd, a'i bellder, ond nid ei faint. Fe gwympai pob peth cyn gynted a'u gilydd, ïe'r bluen fel y plwm, oni bai fod yr awyr yn attal pethau ysgafn, a hyny yn ol eu hysgafnder. Yn awr y mae'r pwys hwn o fawr wasanaeth yn y byd. Hebddo ni fuasai 'r ddaear na phethau eraill ynghyd. Hebddo ni's gallai ddim nofio mewn awyr na dyfroedd. Hebddo ni ddyrchafai tarth i'r awyr, ac ni ddysgynai gwlaw i'r ddaear. Math o sugn yn y ddaear ydyw yr pwys yma, yr hwn sydd hefyd yn y cyrph nefol, ïe, yn mhob corph arall, yn ol mawredd ei ddefnydd a'i bellder. Tybir ei fod yn beth na's gall darddu oddiwrth gorph, ac am hyny ei fod yn cael ei wneuthur, naill ai gan Dduw ei hun, neu yntau gan ryw hanfod ysprydoltano. Y mae rhai pethau eraill hefyd o'r un nattur. Y mae'r sugn neu'r pwys yma, mor anghenrheidiol yn y byd, fel y mae'n gwbl anhepcorol. Yn ol ei bwys y mae pob peth yn tynu tuag at ganol y ddaear, ac O,

mor fuddiol a gwasanaethgar yw'r ddeddf hon yn y byd! Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw, a dyled dyn yn ymddangos yma? Yn awr os oes y fath waith rhyfeddol oddiallan, pa beth sydd oddifewn?

# PEN VI.

## *Am y Bêl ddwfr ddaearol yn gyffredinol.*

Y Mae'r bêl, neu'r glôb ddwfr ddaearol hon yn dra rhyfeddol, ac yn dra chywrain: edrychwn arni y'mhob lle, chwiliwn hi y'mhob man, mesurwn hi yn mhob ffordd, ac ystyriwn hi y'mhob modd, ac ni a gawn weled ei bod hi yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw ei gwneuthurwr; Ië mor bell yw'r gwaith oddiwrth a'mherffeithrwydd, fel pa oreu y deallir, mwyaf y rhyfeddir. Wrth edrych trwy *Ficroscope* ar y gwaith teccaf o eiddo dyn, megis nodwydd ddur, bydd yn ymddangos yn arw ac yn gobleraidd; eithr gwaith natur sydd yn ymddangos yn deg ac yn hyfryd. Mi gaf yn awr gymeryd golwg ar y bêl hon yn gyffredin, ac ystyried, 1, Ei llun. 2, Ei maint. 3, Ei chyffroad. 4, Ei chyflead. 5, Ei dosparthiad i dir a dwfr. 6, Ei llwyth.

### 1. *Am lun y Ddaear a'r Moroedd.*

Y mae'r tir a'r dwfr yn gwneuthur un bêl gron, neu yn agos a bod felly, ïe o fewn i 64 o filltiroedd: nid yw'r bryniau a'r pantiau sydd yn y byd ond fel llwch ar wyneb bŵl. Yn awr y mae bod y byd yn grwn yn oreu ar lawer cyfrif, megis, 1, Yn fwy cynnwysfawr. 2, Yn fwy cydbwys o ran y canol. 3, Yn oreu o ran dyfodiad ac ymadawiad gwrês a goleuni. 4, Yn oreu o ran gwynt a ffrwd yr awyr, ynghyd â llawer o bethau eraill. Yn awr ni a welwn fod gwaith y byd yn grwn, yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw; rhyfeddwn a chlodforwn ei ddoethineb.

## 2. *Am faint y Ddaear a'r Moroedd.*

Y mae'r ddaear yn bêl fawr iawn, yn cynnwys ynddi o ddefnydd o ddeutu 260000 miliwn o filltiroedd Seisnig yscwar, ac o ddeutu 8 mil o drwch, 24 mil o gwmpas, 200 miliwn o wyneb. Corph rhy fawr i ddim llai na Duw ei wneuthur. Hi bwysa o ddeutu 20000 cwátiliwn o bwysau, yn ol natur pwys gyda ni. Fe fyddai dyn yn mron 4 blynedd yn rhoi tro o ddeutu y ddaear, a'i fod ef yn trafaelio 20 milltir bob dydd. Y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn y pethau hyn, ac yn galw arnom ni i'w ofni, i'w ogoneddu, a'i wasanaethu ef.

## 3. *Am gyffroad a thro'r Ddaear a'r Moroedd.*

Y mae gan y ddaear ddau fath o dro, sef tro diwrnodol ar ei phegynau ei hun, o ddeutu mil o filltiroedd bob awr, yn gwneuthur dydd a nos; a thro blynyddool o ddeutu'r haul, ynghylch 56 Mil o filltiroedd bob awr, yn gwneuthur haf a gauaf. A hysbys yw pa mor anghenrheidiol yw pob un o'r rhain i ddyn ac anifail. Y mae'n dra rhyfedd fod y ddaear yn troi mewn dwy ffordd, mor ebrwydd, er ys cymaint o amser, ac heb fyn'd ddim allan o'i lle, a'r cwbl heb gael ei ddirnad gan ddyn. Y mae corph mor fawr, yn troi mor ebrwydd, mor gywir, mor llesiol, ac hefyd dros gymaint o amser, yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw, ac hefyd dyled dyn, y preswylydd, i'w glodfori, i'w ogoneddu, a'i wasanaethu ef.

## 4. *Am gyflead y ddaear a'r moroedd.*

Y mae'r ddaear hon wedi ei chyfleu yn dra chymwys, mewn perthynas i'r haul, ffynon ei gwrês a'i goleuni, heb fod yn rhy bell na rhy agos atti, na chwaith at y planedau a'r ser eraill. Yr oedd miloedd o leoedd eraill yn y ffurfafen, i'r ddaear fod ynddynt heblaw hwn, ond yr oeddynt oll naill ai rhy bell neu rhy agos i'r

haul, neu'r sêr eraill, gan hyny yma y mae rhagluniaeth doeth daionus Duw yn ymddangos, iddo gyfleu y ddaear yn yr unig le goreu, a chymhwyso a chyfaddasu ein cyrph ninau i'r cyfryw gyflead. Pe buasem yn nes i'r haul, buasem yn cael ein llosgi, neu yn sychu yn ormod, gan fod ychydig o'i belydr yma yn llosgi ie pan grynhoir ond modfedd o hono ynghyd mewn llosg-wydr. A phe buasem y'mhellach oddiwrth yr haul, buasai'n rhy oer arnom, a buasem yn rhewi ac yn sythu. Onid yw gallu, doethineb, a daionui Duw yn ymddangos yma? Ac oni ddylai ein diolchgarwch, ein cariad, a'n gwasanaeth ninau ymddangos hefyd?

## 5. *Am ddosparthiad y Ddaear a'r dyfroedd.*

Y mae dosparthiad y Tir a'r dwfr wedi ei gyfaddasu yn dra rhyfeddol, at ddefnyddiau ac achosion y byd, er bod rhai yn haeru nad yw'r byd ond afluniaidd ac annhrefnus; a phe bai felly, byddai yn ddifai i bechaduriaid rhyfygus. Nid oes na bychan na gormod o dir na dwfr. Y maent yn cydbwyso'u gilydd, ac yn rhyfeddol yn gwasanaethu achosion eu gilydd. Nid oes gormod o foroedd, fel y tybia rhai, gogyfer a chynnal tarth, cymylau, a gwlaw yn wastadol; ac hefyd i dymeru oerfel un Wlad, neu wres un arall. O'r moroedd yn bennaf y mae'r dwfr yn dyfod i'r awyr, o'r awyr i'r ddaear, ac o'r ddaear y mae'n dyfod allan yn ffynonau, ac yna y mae'n myn'd yn afonydd i ddyfrhau'r gwledydd, er lles a daioni dyn ac anifail, a rhai o honynt mewn modd rhyfeddol, sy'n cael lle a chwymp i redeg rhwng y bryniau, dros 3 neu 4 mil o filltiroedd, cyn myn'd yn ol i'r môr drachefn. Y mae *Danubius* yn rhedeg 2 a *Nilus* 3 mil o filltiroedd, a rhai yn rhagor yn y byd. Y mae gallu, doethineb, a daioni Duw, a dyled dyn yn ymddangos yn amlwg yn y pethau hyn.

## 6. *Am lwyth y Byd.*

Y mae'r bêl ddwfr ddaearol hon wedi ei chynysgaeddu yn llawn a phob creaduriaid o bob rhyw, o bob

math, ac ymhob lle, er gwasanaeth eu gilydd, a daioni'r cwbl. Y mae'r awyr yn llawn, a'r ddaear yn llawn, a'r moroedd yn llawn. Y mae pob creadur wedi ei gymhwyso a'i gyfaddasu yn rhyfedd i'w le a'i gyflwr. Nid oes un lle yn wag, nac un peth yn ofer, er na fyddwn ni yn adnabod eu diben a'u defnydd angenrheidiol bob amser. Y mae'r creaduriaid gwaethaf er rhyw ddaioni. Y mae'r byd wedi ei lenwi a'i drefnu a'i drwsio gan Dduw yn y modd goreu yn dra rhyfedd, fel nad oes na rhy fychan na gormod ynddo; a hyn sy'n dangos gallu, doethineb, a daioni Duw; ac hefyd y diolchgarwch a'r gwasanaeth sy'n ddyledus ar ddyn iddo.

---

## PEN. VII.

### *Am y Ddaear yn neillduol.*

WEDI son am y bêl ddwfr ddaearol yn gyffredinol, mi soniaf ychydig etto am y ddaear yn neillduol; ond y mae'r gwaith mor ryfedd, fel na's gwn pa fodd i ddechreu, pa fodd i fyned rhagof, na pha fodd i ddibenu. Er hyny er mwyn dywedyd ychydig am dani, mi soniaf am, 1, Ei hamryw dir, neu ei hamryw bridd. 2, Ei hamryw hanau. 3, Ei hogofeu a'i ffroenau tanllyd. 2, Ei mynyddoedd a'i dyffrynoedd.

### 1. *Am amryw dir, neu bridd y Ddaear.*

Y mae'r ddaear yn cynnwys ynddi, amryw fath o dir neu bridd, er cynaliaeth a gwasanaeth amryw fath o greaduriaid. Y mae coed a llysiau, a phethau difywyd eraill, yn caru eu hamryw diroedd; ac felly hefyd amryw fath o greaduriaid byw. Y mae rhyw bethau am dir gwresog, ac eraill am dir oer; rhai am dir sych, eraill am dir gwlyb; rhai am dir caled, eraill am dir tyner, a thir rhydd. Ac fel hyn y mae'r Arglwydd, trwy ei allu, a'i ddoethineb, a'i ddaioni, wedi trefnu a chymhwyso amryw bridd y ddaear, i'w ddibenion a'i

ddefnyddiau angenrheidiol. A hyn a ddylai ein cymmell ninau i'w ryfeddu, i'w glodfori, a'i wasanaethu ef.

## 2. *Am amryw hanau'r Ddaear.*

Wrth amryw hanau'r ddaear, yr wyf yn dyall ei hamryw osodiadiau, a'i hamryw wythienau, megis o fŵn, a glo, a thywod, a chlai, a thir rhwth, a'r cyfryw bethau, y rhai sydd yn gorwedd tan eu gilydd, ac yn dra defnyddiol er gwasanaeth y byd. O rai o'r haneu hyn, yr ydys yn cael aur ac arian i drefnu'r byd; o eraill bres a haiarn, a'r cyfryw bethau, i wneuthur llestri ac offerynau, o eraill fodd i adeiliadu; o eraill achles i diroedd; o eraill dân; o eraill physygwriaeth; ac o eraill ffynhonau a dwfr, ynghyd a miloedd o bethau angenrheidiol heblaw hyn. Yr amser y gosodwyd yr amryw hanau hyn, oedd yn y dechreuad, ac mewn rhan ar y diluw, pan y darfu i bob peth fyn'd i wared wrth ei bwys, ac yn ol ei natur. Mae'n debyg fod y mŵn yn ei wythienau, a'r cerrig o bob math yn y ddaear, mewn rhyw fesur yn tyfu. Rhagluniaeth fawr, gogyfer a iawn drefnu'r byd hwn, yw bod dynion wedi gosod y fath bris ar aur ac arian. Y mae'r aur yn beth tyner iawn, ac a gymer ei yrru a'i estyn yn rhyfeddol. Gellir estyn wns o hono i gant neu ddau o filltiroedd. Y mae perffeithrwydd Duw, a dyled dyn yn ymddangos yn yr holl bethau hyn.

## 3. *Am Ogofeu a Ffroenau tanllyd y Ddaear.*

Y mae yn y ddaear ogofau mawrion, a thân yn enyn ynddynt yn fynych, ac yn gwneuthur daear-grynfaau; ac oni ba'i fod ffroenau mewn mynyddoedd tanllyd, i'r tân hyn ddyfod allan, byddai daear-grynfaau yn amlach, yn fwy ac yn fwy eu drwg; ac etto y mae'r tân sydd yn y ddaear er defnyddiau a dibenion angenrheidiol. Tybir fod cymundeb rhwng mynyddoedd tanllyd a'u gilydd trwy'r ddaear. Yn ddiamau y mae pob peth yn y ddaear, ar y ddaear, ac yn mhob creadur, i'w ddefnydd a'i ddiben angenrheidiol, er na b'om ni bob

amser yn adnabod ei ddefnydd. Y mae perffeithrwydd Duw a dyled dyn yn ymddangos yma eto.

## 4. *Am Fynyddoedd a Dyffrynoedd y Ddaear.*

Er nad yw'r mynyddoedd a'r bryniau ynghyfrif rhai ond anhrefnus ac anfuddiol; etto y maent yn dra doeth i'w dibenion anghenrheidiol; megis, 1, Y maent er harddwch. Y mae'r dyffrynoedd yn hardd i edrych arnynt o ben y mynyddoedd. 2, Y maent yn ddefnyddiol er cynnal ac adferu iechyd. Y mae'r wlad oddiamgylch a'r mynyddoedd yn iachusach na'r trefydd, a'r dyffrynoedd isel fynychaf. 3, Y maent er cysgod a a chynesrwydd hâf a gauaf. 4, Y maent er dwyn amryw fath o goed a llysiau: ïe, llysiau'r mynyddoedd yn fynych yw'r rhai mwyaf o'u rhyw. 5, Y maent er magwraeth a chynnaliaeth amryw fath o anifeiliaid, o adar, ac o bryfed. 6, Yn y mynyddoedd y mae pob math o fŵn yn cael ei fagu a'i gadw, neu o'r hyn leiaf, oddiyno y mae'n hawsaf ei gael ef allan. 7, O'r mynoedd a'r bryniau y mae'r ffynhonau yn tarddu allan, a'r afonydd yn cael eu dechreuad. Ac oni b'ai fod mynyddoedd a chodiad tir, ni byddai afonydd na dwfr yn rhedeg. A thrwy ragluniaeth ddoeth yn ddiameu, y y tir uchaf yn mhob gwlad, yw'r pellaf oddiwrth y môr, fel y byddo rhediad yn wastad i'r afonydd. Ac heb ddoeth ragluniaeth, ni buasai na bryn na mynydd, gan fod tueddrwydd naturiol yn y pridd i fod yn wastad, pan oedd y dwfr ar y cyntaf yn cael ei loywi a'i neillduo oddiwrtho. 8, Y mae 'r mynyddoedd a'r bryniau yn gwneuthur y ddaear yn amlach ac yn helaethach ei hwyneb, a hyny er daioni dyn ac anifail. Ac fel hyn y mae pob peth yn y modd goreu, os gallwn ni ond iawn ddirnad a chydnabod; ac felly yn gosod allan allu, doethineb, a daioni Duw, ynghyd a'n dyled a'n rhwymedigaeth ninnau i'w ryfeddu, i'w glodfori, a'i wasanaethu.

# PEN. VIII.

## *Am Fywiolion yn gyffredinol.*

WEDI son am y ddaear fel hyn yn gyffredinol, mi soniaf ychydig etto am ei thrigolion. Ei thrigolion sydd o ddau fath, sef bywiolion, ac anfywiolion; Creaduriaid byw a chreaduriaid difywyd. Ynghylch bywiolion yn gyffredinol mi soniaf am y deg peth hyn; sef, 1, Eu synhwyrau. 2, Eu hanadliad. 3, Eu cyffroad. 4, Eu cyflead. 5, Eu rhif. 6, Eu hymborth 7, Eu gwisgiad. 8, Eu trigfanau. 9, Eu hunan amddiffyniad. 10, Eu cenhedliad.

## 1 *Am Bum Synwyr Bywiolion.*

Y peth cyntaf i'w ystyried mewn bywiolion yn gyffredinol, yw eu gallu i weled, i glywed, i arogli, i archwaethu, ac i deimlo; ynghyd ag offerynau'r pum synwyr hyn; ac hefyd y modd rhagorol y mae'r synhwyrau a'r offerynau hyn wedi eu cyfaddasu at gyflwr a gwneuthuriad pob rhyw o honynt. Y mae ystyriaeth y peth hyn ei hunan yn ddigon i ddangos gallu, doethineb, a daioni Duw. Heb y synhwyrau hyn, ni buasai creadur byw fawr gwell nag un difywyd; canys beth a dalsai i greadur fyw, ac ymsymud, ac etto heb wybod pa le i fyned, beth i'w wneuthur, beth i'w fwyta, na pha bryd na pha fodd i ymgadw rhag perygl.

1. Un o'r pum synwyr yw'r golwg, neu'r llygad, ac y mae ei waith ef yn rhyfeddol y'mhob creadur. Ystyriwn, 1, Ei agwedd; sef, yn grwn; canys dyma y llun goreu gogyfer a gweled a chael ei droi. Y mae llygaid rhai creaduriaid heb fod yn grynion, ond nid heb achos. 2, Ei gyflead; sef, yn y pen, y lle mwyaf cymmwys ar lawer cyfrif. Gallasai fod yn y llaw, neu yn y troed, ond nid mewn un lle mor gyfaddas a'r pen. Y mae ef mewn rhai creaduriaid, wedi ei osod yn mlaen, mewn eraill i weled oddiamgylch, ac hefyd yn ol; yn wastad yn gymwys yn ol bywioliaeth ac achos pob un. 3, Ei gyffroad; sef i fynu ac i wared, draw

ac yma: ie, y *Cameleon* a all droi un llygad yn mlaen, a'r llall yn ol; ac edrych ag un i fynu a'r llall i lawr. A'r creaduriaid hyny nas gallant droi eu llygaid, sydd wedi eu cynysgaeddu mewn rhyw ffordd arall, megis â llygaid yn sefyll yn fawr allan, a'r rhai'n weithiau, sef mewn rhai creaduriaid, megis y clêr, yn ddarnau, ac felly yn gwasanaethu fel mil o lygaid. 4, Ei faintioli, y mae maint y llygad yn mhob creadur yn ol yr achos. Gwelwn hyn yn y Wâdd, yr hwn sydd a'i lygad yn fychan iawn, gan fod ei holl waith a'i achos dan y ddaear. 5. Eu rhifedi yn wastad yn ddau y'mhob creadur, eithr mewn rhai creaduriaid yn llawer mwy. A rhyfeddol yw hyn, nad yw'r golwg neu'r gwrthddrych ond un, trwy ddau lygad. Y mae pedwar llygad gan falwoden, sef un y'mhob corn, a phedwar, neu chwech, neu wyth gan gorynod, a miloedd i'w cyfrif gan glêr. Y mae ynddo amryw rannau, a'r rhai'n wedi eu cyfaddasu yn rhyfeddol i'w gilydd. Y mae yma fwy o bethau, nag y gellir yn hawdd eu hadrodd na'u dirnad. Hefyd mi soniais ryw faint am y llygad o'r blaen mewn dyn. Y mae gwaith y ganwyll yn agor ac yn cau, gogyfer a gollwng mwy neu lai o oleuni i mewn, ac mewn rhai creaduriaid yn fwy na'u gilydd. Cath all dallu ei chanwyll yn gryn agored, ac am hyny gall ganfod yn y tywyllwch, neu wrth ychydig o oleuni. Ac felly llawer o greaduriaid eraill, ag sy'n gorfod hel eu hymborth mewn goleuni a thywyllwch. Hefyd y mae llygaid cath, a rhai creaduriaid nos, â rhyw ychydig o lewyrch ynddynt. Y mae rhai dynion a ganfyddant mewn cryn dywyllwch, ac a welant y llythyrenau lle na welo eraill mor llyfr. Y mae grisial, neu wydr y llygad yn rhyfedd iawn, o amryw hanau, a phob han o un edefyn, wedi ei gwau mewn modd dieithr, heb fod un edefyn yn croesi'r llall. Y mae miloedd o'r haneu hyn yn llygad ych. 7, Ei ddiogelwch, y mae diogelwch y llygad yn gyfattebol i'w ddefnydd mae'n yn ei ddiogelu yn fawr o herwydd bod ei ddefnydd a'i wasanaeth yn fawr. Y mae'n cael ei ddiogelu âg esgyrn, ac â chloriau, ac hefyd mewn rhai creaduriaid â philen, yn enw-

edigol pysgod, y rhai nid oes cloriau llygaid ganddynt. A'r creaduriaid hyny nad oes ganddynt ddiogelwch arall i'w llygaid, y mae ganddynt allu i'w cymeryd i mewn i'w cyrph, megis y malwod, a'r wâdd hefyd ryw faint, Y mae llygaid rhai creaduriaid, megis clêr, ac amryw bryfed, mor gelyd fel na raid iddynt wrth ddiogelwch.

2, Synwyr arall yw'r clybod. Fel y mae dau lygad gan fywiolion, felly hefyd y mae ganddynt ddwy glust, nid yn unig er mwyn gweled a chlywed yn well, ond hefyd mewn ffordd o ragddarbod, fel os digwydd colli un y byddo'r llall yn ol, gan eu bod mor angenrheidiol ac anhepgorol. Rhodd ragorol i fywiolion yw'r synwyr hwn, nef y clybod; a chyn y gall ef fod, ymae yn rhaid bod y glust a'r awyr wedi eu cyfaddasu i'w gilydd mewn modd rhyfeddol. Y mae'r glust a'r clybod yn mhob creadur, wedi eu rhoddi a'u trefnu iddo'n gymwys yn ol ei achos a'i amgylchiad. Gan fy mod i wedi son am y pethau hyn o'r blaen, byddaf yn fyrach yn awr arnynt. Dyn a enir yn fyddar, sydd hefyd yn fud yn wastad, gan na bydd ganddo ddim geiriau nac enwau, ond y mae Duw yn fynych yn rhoi rhodd rhyfedd i'r cyfryw rai, i ddirnad mewn ffordd arall. Deall rhai yr hyn a lefaro eaill, wrth graffu ar eu gwefusau yn cyffro, neu wrth osod eu llaw ar eu genau. Y mae ganddynt ffordd yn awr i ddysgu'r cyfryw rai, fel y mae rhai o honynt yn ddysgedig. Yr ydys yn meddwl fod pysgod yn clywed. Fe glyw y rhai a fyddo dan ddwfr, yr hyn lefarir ar y làn; ac fe glywir ar y làn, glôch yn canu yn y dwfr. Y mae llawer ffordd i wneuthur swn, ond nid heb awyr. Y mae sŵn yn gwneuthur rhyw fath o gyffroad agos yn mhob peth; megis yn y ddaear, mewn creaduriaid, mewn tai ac adeiladau. Sŵn ergyd canon a fo yn agos, a ddryllia ffenestri gwydr. Y mae sŵn yn rhedeg o ddeutu 10 neu 12 milltir mewn munud. Y mae gwynt cryf yn gwneuthur peth gwahaniaeth. Y mae'r corn llafar i'w glywed dros 4 neu 5 milltir; a rhai clŷch dros 24; a sŵn canon weithiau i'w chlywed dros gant neu ddau o filltiroedd. Pa nesaf i begwn y Gogledd, neu'r De, mwyaf a phellaf yr â'r sŵn.

3, Synwyr arall yw'r arogliad; trwy ba un y mae bywiolion yn sawru arogl pêr a drewllyd, ac yn derbyn y tarth rhyfeddol hyny, ac sydd yn dyrchafu oddiwrth bethau, nad ydyw i'w ddirnad trwy un synwyr arall; a hyn hefyd sydd er eu mawr les a'u daioni. Rhyfedd cyhyd y tywallt rhai pethau eu harogl, heb golli dim yn eu pwys, yr hyn sy'n dangos fod y gronynau hyny yn fân iawn. Y mae'r synwyr hwn yn y trwyn yn mhob creadur, ac yn fwy neu'n llai yn mhob un yn ol ei achos. Rhyfedd fel y sawra pysgod eu hymborth yn y dwfr, a rhai adar eu hymborth yn y dom, a chŵn ôl troed dyn ac anifail.

4, Synwyr arall yw'r archwaeth, neu'r blâs, y'ngenau yr holl fywiolion, trwy ba un y maent yn dirnad eu hymborth, ac yn ymhyfrydu ynddo, ac felly y mae ef yn y lle mwyaf cymwys a phriodol. Y mae yr ymborth cyn myn'd i'r cylla, yn myn'd tan brawf tri synwyr, sef y golwg, yr arogliad, a'r archwaeth; a'r rhai hyn sydd hefyd wedi eu cyfleu gerllaw eu gilydd.

5, Synwyr arall yw'r teimlad, yr hwn sydd yn yr holl fywiolion, ac yn sefyll yn y gewynau ac yn mhob man o'r corph, fel y byddo i bob man fod yn deimladwy o'r hyn a fyddo niweidiol. Y mae'r synwyr hwn yn fawr iawn mewn rhai, canys dywedir fod rhai a adnabyddant liwiau wrth eu teimlad. Yn awr ni a welwn fel y mae bywiolion wedi en cynysgaeddu â phum synwyr, y rhai sy'n rhyfedd os ystyriwn eu hofferynau neu eu defnydd. Y mae gwneuthuriad y pethau tu hwnt i allu a doethineb neb ond Duw; ac am hyny y mae'n rhaid i ni wadu ein synhwyrau, neu addef gallu, doethineb, a daioni Duw, a phob un o honynt, ac hefein dyled, a'n rhwymedigaeth ein hunain i'w adnabod, i'w ryfeddu, i'w ofni, i'w garu, i'w glodfori, a'i wasanaethu ef.

## 2. *Am Anadliad Bywiolion.*

O holl weithrediadau bywyd, hwn yw un o'r rhai pennaf; ac nid oes un creadur byw hebddo, neu ryw beth cydbwys iddo. Y mae anadliad i lawer diben,

ond yn enwedigol i yrru'r gwaed trwy'r ysgyfaint, ac i gyffroi'r galon. Rhyfedd gynnifer o leisiau a all creadur byw, yn enwedig dyn, ei wneuthur, wrth agor neu gyfyngu ei bibellau llafar. Y mae rhai a lefarant heb dafod. Y mae yma un peth rhyfedd iawn ag sydd yn dangos amcan a bwriad y Creawdwr, sef fod ffordd i'r gwaed droi trwy'r galon heb fyn'd i'r ysgyfaint, tra fo'r creadur yn y groth, ond wedi hyny pan ddelo i anadlu, y mae' r ffordd hon yn cael ei chau i fynu, oddieithr mewn rhai creaduriaid sy'n byw mewn dwfr a thir, ac eraill sydd yn cysgu megis yn feirw dros hir ddyddiau; ac yn wir rhai dynion, y rhai a allant aros dan ddwfr dros hir amser; ac eraill a adfywiant wedi cael eu crogi. Y mae offerynau'r anadliad yn mhob creadur, wedi eu cyfaddasu i'w achos a'i ffordd i fyw. Tybir fod rhyw fath o anadliad gan bysgod. Y mae eu gwaith yn agor eu penau, ac megis yn dyhau; yn rhoi achos i feddwl hyny: gwaith yw anadlu ag sy'n rhaid i greadur byw ei wneuthur ddydd a nos yn wastadol dros ei fywyd. Duw, medd St. Paul Act. 17. 25. Sy'n rhoddi i bawb fywyd, ac anadl, a phob peth oll.

## 3. *Am gyffroad bywiolion.*

Pe buasai bywiolion heb gyffroad, a gallu i ymsymud, hwy fuasent mewn cyflwr truenus; eithr y mae'r Creawdwr wedi cynysgaeddu pob creadur byw â gallu i ymsymud yn ol ei achos: rhai i redeg ar ddau neu ragor o draed; rhai i ehedeg, rhai i nofio, a rhai i ymlusgo, rhai yn hir eu symudiad, gan na fydd ganddynt achos i fyn'd y'mhell: rhai eraill yn ehud, gan y [illegible] dynt achos; ac hefyd gan y byddant yn ofnus, [illegible] n ffordd arall yn iawn i amddiffyn eu hunain. A[illegible] yn y mae'r Creawdwr galluog doeth, a daionus, w[illegible] ynnysgaeddu bywiolion yn rhyfeddol, â gallu i ymsymud.

## 4. *Am gyflead bywiolion.*

Fel y mae'r Creawdwr wedi cynnysgaeddu bywiolion yn ddoeth, felly hefyd y mae wedi eu cyfleu yn

ddaionus. Y mae'r byd yn llawn, fel nad oes un lle yn wag. Y mae'r ddaear yn llawn, a'r awyr yn llawn, a'r moroedd yn llawn. Ond yr hyn sydd yn fwyaf yn dangos rhagluniaeth Duw yma yw, fod creaduriaid pob lle yn amlwg wedi eu darparu a'u cymhwyso iddo. Y mae pob lle yn llawn, a phob creadur wedi ei gyfaddasu a'i gymhwyso yn rhyfeddol, yn ddoeth, ac yn ddaionus i'w le.

## 5. *Am rif, neu gydbwysiad bywiolion.*

Ni all y ddaear gynnal ond ei llwyth: pe byddai ei thrigolion yn ddau, neu yn dri, neu yn gan' cymaint, byddai raid iddynt drengu a difetha eu gilydd. Gan hyny y mae rhagluniaeth Duw yn ei waith yn cadw'r dafl yn gyd-bwys. I'r diben hyn, y mae'r Creawdwr wedi penderfynu bywyd pob rhyw o greaduriaid i'r cyfryw hyd, a'i hepiliad i'r cyfryw rifedi, ac a fyddo'n gyfattebol i'w defnydd a'u gwasanaeth yn y byd. Y mae einioes rhai creaduriaid yn hir, ond eu hepiliad yn fach, ac am hyny nid ydynt yn gorlenwi. Y mae eraill a'u hepiliad yn fawr, ond eu heinioes yn fèr, o ran y byddant yn ymborth iddyn, neu anifeiliaid eraill. A rhyfedd yw rhagluniaeth Duw yn hyn, fod y creaduriaid mwyaf gwasanaethgar yn fawr eu hepiliad, eithr eraill yn llai. Y mae un aderyn a elwir *Cuntur,* yn 16 troedfedd o flaen un aden i'r llall, ac fe ladd wartheg, a phlant 12 oed: ond nid oes fawr o honynt mewn gwlad. Y mae rhagluniaeth wedi mesur oes dyn, yn gyfattebol i amryw amserau ac achos y byd yn rhyfeddol iawn; ar y cyntaf yr oedd yr oes yn hir, er mwyn llacwi y byd; yna ar y diluw hi a fyrhawyd; ond i'w adnab[illegible]odd y byd eilwaith ei lenwi, yna hi a fyrhawyd eilwaith, a'i [illegible], fel y mae y dydd heddyw. Pe buasai'r oes yn [illegible] y cyntaf, ni buasai'r byd yn cael ei lenwi yn e[illegible]ydd; pe byddai cyhyd yn awr, efe a'i gorlenwid. Pan nad oedd ond un gwr a gwraig, yr oedd yr oes yn 900; ond pan yr oedd tri neu bedwar o wyr a gwragedd, nid oedd hi fawr uwch na 300. Yna hi a ddaeth i 80 a 70, fel y mae yn awr, oddieithr ambell un megis yr hen Mr.

Parr, o Sir y Mwythig, yr hwn a fu fyw 152 a 9 mis; ac hefyd Mr. Henry Jenkins o Sir York, yr hwn a fu fyw 169. Craffwn ar ragluniaeth Duw yn hyn, fod cynnifer o feibion ac o ferched yn cael eu geni, oddieithr ychydig yn rhagor o feibion, gogyfer a rhyfel, a'r mor, a'r cyfryw achosion; ac hefyd fod cynnifer yn marw ac sy'n cael eu geni, oddieithr ychydig yn rhagor yn cael eu geni, gogyfer a marwolaethau mawrion, a goresgyn a chyfaneddu rhai gwledydd newydd. Y mae megis un dyn o bob pedwar a enir yn priodi, ac megis pedwar yn cael eu geni, ac yn dyfod oddiwrth bob priodas. Y mae yn y deyrnas hon o ddeutu 50 mil yn priodi bob blwyddyn: y mae yn Llundain o ddeutu miliwn o ddynion, ac yn Lloegr a Chymru o ddeutu 12 miliwn; ac yn y byd o ddeutu 400 miliwn, ac wedi bod er y dechreuad oddeutu 20000 miliwn, ac Ynghymru ddigon o le i roi bedd i bob un o honynt ar unwaith, a digon o le i lawer cymaint: sefyll yn wrthwyneb i dyb llawer o atheistiaid, a haerant nad oes digon o le iddynt yn y byd: ac hefyd ni phwysai un corph, ond megis cymaint a'i hyd a'i led o'r ddaear i droedfedd o ddyfnder; ac yn ganlynol ni phwysent i gyd oll, ond megis hân o wyneb y wlad i droedfedd o ddyfnder. Y mae rhai dynion yn Llundain yn dyblu yn yr oes bob 40 mlynedd; ac yn y wlad bob 300 mlynedd. Y mae llaw Duw yn amlwg yn ei waith yn cyd-bwyso bywiolion fel hyn, medd y Salmydd, Ps. 104. 29. 30. Ti a guddi dy wyneb, hwythau a drallodir: dygi ymaith eu hanadl, a threngant, a dychwelant i'w llwch. Pan ollyngych dy yspryd, y creir hwynt, ac yr adnewyddi wyneb y ddaear.

## 4. *Am ymborth Bywiolion.*

Y mae rhagluniaeth Duw etto yn ymddangos, yn ei waith yn porthi bywiolion, medd y Prophwyd, Ps. 104. 27, 28. Y rhai hyn oll a ddisgwyliant wrthyt, am roddi iddynt eu bwyd yn ei bryd. A roddech iddynt a gasglant: agori dy law, a diwellir hwynt â daioni. Ps. 145. 15, 16. Llygaid pob peth a ddisgwyliant wrthyt, ac yr ydwyt yn rhoddi eu bwyd iddynt yn ei bryd; gan

agoryd dy law a diwallu pob peth byw a'th ewyllys da. Y mae rhagluniaeth Duw yn ymddangos yma mewn amryw bethau. 1, Ystyriwn pa ragluniaeth yw bod y fath fyd o fywiolion, yn cael eu porthi y'mhob lle, bob amser: Cynnifer rhyw o honynt, yn gofyn cynnifer rhyw o ymborth, a hyny yn yr awyr, ar y ddaear, ac yn y dyfroedd. 2, Ystyriwn pa ragluniaeth ydyw bod mesur yr ymborth yn gyfattebol i'r bwytawyr. Yn mhob lle y mae digon, ie, llawnder, ond nid gormod mewn un lle, fel y bo iddo lygru a niweidio yr byd. 3, Pa ragluniaeth yw bod amryw fath o fywiolion, yn ymhyfrydu mewn amryw fath o ymborth: rhai mewn porfa neu wellt, rhai mewn llafur neu ŷd, rhai mewn cig, a rhai mewn pryfed; rhai yn y peth hyn, eraill mewn peth arall. Pe buasai'r holl fywiolion am yr un rhyw ymborth, o bosibl, ni buasai ddigon. Ond yn awr y peth a adewir gan un, a gymerir gan y llall. Y peth sy'n wenwyn i un, sy'n ymborth i'r llall; a'r peth sydd yn ddrewllyd gan un, sydd yn hyfryd gan y llall. Ac fel hyny y mae pob peth yn cael ei arfer, a phob creadur yn cael ei borthi; ie, yr holl anifeiliaid gwylltion, a'r adar, y rhai nid ydynt yn hau nac yn medi, na chanddynt gell nac ysgubor, Luc 12. 24. 4, Ystyriwn pa ragluniaeth yw fod pob lle yn dwyn ymborth priodol a chymmwys i'w drigolion. Y mae'r ddaear yn dwyn ŷd a llysiau. Y mae rhinwedd rhyfeddol mewn bara, nid yn unig i borthi, ond hefyd i nerthu y cylla i dreulio pob ymborth. Y mae yr awyr a'r dyfroedd yn llawn pryfed, y rhai sy'n ymborth i greaduriaid eraill. Nid yw'r hyfen, o amryw liwiau, y sydd ar wyneb dwfr brwnt yr haf, ond lluoedd o bryfed yn magu, os edrychir arno trwy Ficroscope. Y mae pob creaduriaid yn cael eu hymborth, a llawer o honynt, os nad y cwbl, yn ymborth i'w gilydd. 5, Ystyriwn pa ragluniaeth yw, bod pob creadur wedi ei drefnu a'i gymhwyso, i gymeryd ac i gasglu ei ymborth; rhai i dyllu coed a cherrig; rhai i sugno gwaed, megis clêr a gwybed, a phryfed eraill, y rhai ynt i gyd yn wrrywaid, ac yn fenywod, a digon a wahaniaeth rhyngthynt, rhai i bigo; rhai i gnoi; rhai i hela eu hymborth yn y

llaid a'r dom. Y creaduriaid sydd a dau bâr o ddannedd ganddynt, sef i fynu ac i waered, sydd wrth un cylla; ond y rhai ag un pâr o ddannedd, neu heb yr un, sydd a thri chylla. Nid yw'r dannedd, ond math o bilenau wedi caledu: rhyfedd fod y dannedd yn mhob creaduriaid, yn dyfod erbyn y byddo yn rhaid wrthynt, ac nid yn gynt. Y mae dannedd rhai pysgod yn y genau, dannedd rhai yn y gwddf, a dannedd rhai yn y cylla. Nid yw'r corn llwngc yn mhob creadur yn gyfattebol i faint y faint y corph, ond yn wastad yn gyfattebol i'r achos. Rhyfedd ydyw y gallu sydd yn y cylla, yn enwedigol mewn rhai creaduriaid, i dreulio pethau a fo'n anhawdd iawn debygid. Y mae nifer a maint cyllaau, y'nghyd â'r gallu hyn ynddynt i dreulio yr ymborth, yn wastad yn mhob creadur yn gyfattebol i'w achos. Yn nghylla y rhan fwyaf o adar, sef yn y Lasog, y mae cerrig cornelog bychain, i helpu tori, a threulio yr ymborth. Y mae gwaith rhai anifeiliaid yn cnoi eu cîl, a hyny pan fyddont yn gorphwys, er mwyn parottoi'r bwyd yn well i roi maeth, y'nghyd â threfn y rhanau oddi fewn, gogyfer a hyn o waith, yn bethau i'w rhyfeddu. Y mae gwaith yr ymborth, yn cael ei ddwyn i'r gwaed, a'r gwaed yn cael ei droi oddiamgylch yn wastadol, i faethu yr holl gorph, yn bethau i'w rhyfeddu eilwaith. 6, Ystyriwn pa ragluniaeth yw bod y fath ffordd gan fywiolion i enill eu hymborth. Y mae rhai creaduriaid yn enill eu hymborth, wrth eu buandra, rhai wrth eu nerth, rhai wrth eu ffroen, rhai wrth eu golwg, rhai wrth eu glewder, a rhai wrth eu cyfrwystra. Y mae llawer o son am gyfrwystra 'r Llwynog, a rhai creaduriaid eraill, na soniaf fi yn awr am danynt. Y mae llawer ffordd a medr gan greaduriaid i enill eu bywyd, yn hyspys i bawb, ac yn ymddangos beunydd. Y mae'r Creawdwr wedi rhagddarbod yn rhyfeddol dros greaduriaid ieuaingc, trwy osod y serch naturiol hyny ac sydd yn mhob creaduriaid tuag at eu plant a'u heppil, yn eu naturiaeth. Pa fath egwyddor ryfeddol arbenig yw hon, wedi ei phlannu ynddynt gan y Creawdwr! trwy hon y maent gyda hyfrydwch yn eu magu, heb brisio am ddim poen, nac

ofni dim peryglon, ïe, y creaduriaid mwyaf ofnus bryd arall. Ac fe ddywedir fod y cariad hwn yn cael ei dalu yn ol gan y creadnriaid i'w rhieni drachefn pan f'ont yn hen. Y mae hefyd dueddrwydd naturiol, rhyfeddol mewn creaduriaid ieuangc, i ofyn am y deth, ac i bigo, neu i wneuthur a fyddo yn perthyn iddynt, cyn gynted ag y delont i'r byd. Y mae'r Creawdwr hefyd, wedi rhagddarbod yn rhyfeddol dros y creaduriaid hyny, na allant gael eu lluniaeth bob amser, na byw yn iawn yn y gauaf. Y mae eu cyrph wedi eu gwneuthur felly, fel y gallant gysgu mewn rhyw le cynes ag yr elont iddo, hyd yr ail dymmor, heb fod yn rhaid iddynt wrth fwyd na lluniaeth. Gallwn enwi yma lawer o adar, ac agos holl lwyth y pryfed asgellog, a rhai creaduriaid eraill, y rhai a allant fyw amryw fisoedd heb fwyd, ac hefyd, heb anadliad, neu âg ychydig iawn. Y mae'r Creawdwr hefyd, wedi darparu dros eraill, trwy eu cynnygaeddu â chynneddf, ac â thueddrwydd naturiol, i ddarparu iddynt eu hunain mewn pryd: a'r rhai nad yw hyn ynddynt, y maent tan ofal dyn. Y mae rhai dynion weithiau, yn byw heb fwyd dros hîr amser. Un Martha Taylor, o achos ergyd ar ei chefn, a gollodd ei ystymmog, fel na chymerodd fawr luniaeth, oddeithr ychydig ddiferion â phluen, dros 13 Mis. Yn y blynyddau 1693. 1696. a 1697. y cysgodd gwr ger llaw Caer-baddon, dros amryw wythnosau y'nghyd, heb fawr luniaeth. Yn gyffelyb i hyn y bu'r ferch o Langollen, yn Sir Ddinbych, yn mhen blynyddau wed'yn.

## 7. *Am Wisgiad Bywiolion.*

Y mae'r holl fywiolion wedi cael eu gwisgo yn dra rhyfeddol, ac hefyd, yn wastad yn gyfattebol i'w lleoedd a'i hachosion; rhai â chrwyn tewion' celyd; rhai â chregin; rhai â phlŷf; a rhai â blew. Y mae eu gwisgoedd oll yn dra chywraint, eithr y mae gwisgoedd rhai o honynt mor wychion, na wisgwyd Solomon yn eu holl ogoniant yn gyffelyb iddynt; dyn yn unig y'n cael ei eni yn noeth, am ei fod ef wedi ei gynnysg-

nodda â rheswm, a moddion i ddarparu drosto ei hun. Yn awr wrth ystyried byd o fywiolion fel hyn yn cael eu gwisgo, pob un yn gymmwys yn ol ei achos a'i elfen; a allwn i amau doethineb y Gwisgwr?

## 8. *Am Drigfanau Bywiolion.*

Fel y mae dyn wedi ei gynnysgaeddu â rheswm, a deall, ac hefyd â moddion, megis coed a cherrig a phethau eraill, i adeiladu iddo ei hun drigfanau yn ol ei achos; felly hefyd, mae'r creaduriaid direswm, wedi eu cynysgaeddu â rhyw fath o gynneddf a thueddrwydd naturiol rhyfeddol, i adeiladu iddynt eu hunain drigfanau i wasanaethu eu hachosion. O, mor rhyfeddol y medr rhai creaduriaid adeiladu iddynt eu hunain! Dyn yn unig, o herwydd ei ddeall a'i reswm, a all ychwanegu ei fedr; eithr y creaduriaid eraill, y rhai sy'n gwneuthur pob peth yn ol eu tuedd naturiol, ydynt yr un modd yn awr a chynt; ïe, er y dechreuad. Nid oes dim mwy o fedr gan anifail yn awr na chynt; eithr y mae medr naturiol rhai creaduriaid i'w ryfeddu. Y mae rhai pryfed, ag a fedrant osod mân bethau y'nghyd i nofio arnynt; ac eraill a fyddo a'u hymborth yn ngwaelod y dwfr, a fedrant osod cerrig yn eu llestri bach, i'w tynu i lawr. Pa mor rhyfedd y medr corryn wneuthur gwê o'i gorph ei hun! Yn awr wrth ystyried yr holl bethau hyn, ni a allwn gymhwyso geiriau Solomon at yr holl fywiolion rhesymol, ac anrhesymol, a dywedyd, Yr Arglwydd sydd yn rhoi doethineb, allan o'i enau ef y mae gwybodaeth a deall yn dyfod. Diar. 2. 6.

## 9. *Am Hunan amddiffyniad Bywiolion*

Y mae dyn o herwydd ei ddeall, a'i reswm, yn cael ei eni heb arfau amddiffyniad, gan y gall ef o herwydd hyny, ddarparu iddo ei hun; eithr y creaduriaid eraill, y rhai nid oes rheswm ganddynt, sy'n cael eu cynnysgaeddu yn rhyfeddol âg amryw fath o arfau a tharianau naturiol, i amddifyn eu hunain, a hyny yn ol eu hamryw leoedd, a'u hachosion; rhai â chrwyn diogel, rhai â

chregin, rhai â chyrn, rhai âg esgyll llymion, a drain-pigog, rhai â chrafangau, rhai â phigau a rhai â cholynau; rhai a all amddiffyn eu hunain trwy newid eu lliw, megis y *Cameleon*; rhai trwy ehedeg, a rhai trwy redeg, a rhai trwy nofio, rhai wrth fyn'd dan ddwfr, rhai wrth fyn'd o'r dwfr, a rhai wrth liwio'r dwfr; rhai a all amddiffyn eu hunain yn y tân, trwy ei ddiffodd â rhyw fath o sudd o'u cyrph eu hunain; rhai wrth eu ffroen, eu clust, neu eu llygad a ragwelant, ac a ragflaenant beryglon; rhai a amddiffynant eu hunain trwy gyfrwystra, megis y Llwynog, yr Ysgyfarnog, ac eraill; rhai trwy eu llais, megis chwyrnu; rhai trwy wneuthur garw lun arnynt eu hunain, megis gwrychio; rhai trwy ddrewdod eu tom a'u biswail, fel yr ydym yn clywed am amryw; ac eraill trwy foddion eraill. Y mae'r pysgodyn a elwir y *Siurk*, yr hwn sy'n dra distrywgar, ac oni bai fod yn gorfod arno droi ar ei gefn wrth yglyfaethu, ni byddai nemawr o bysgod a ddiangai rhagddo; er cymmaint yw ffordd y creaduriaid i amddiffyn eu hunain, eto y mae ffordd a medr dyn yn fwy iw gorchfygu yn ol ei achos. Ie, er cymaint yw medr un creadur i ymgadw, mae medr creadur arall yn gymaint i ddal, cyn belled ag y byddo angenrheidiau bywyd yn gofyn.

## 10. *Am Genhedliad Bywiolion.*

Y mae yn dra hyspys yn awr, fod pob creadur byw yn cael ei genhedlu rhwng gwrryw a benyw, ac nad oes un yn dyfod trwy un ffordd arall, ïe, gymaint a gwybedyn, neu nedden. A rhyfeddol iawn yw'r modd y maent wedi eu cymhwyso, a'u cyfaddasu i'w gilydd, gogyfer a chynnal eu rhyw. Y mae ambell fath o greaduriaid, a phob un o honynt yn wrryw ac yn fenyw; megis mwydon a gelod, llynger a malwod. Ceir gweled malwod yn ceiliogi y nail y llall ar unwaith; a mwydon a phen un at gynffon y llall, ac felly yn ceiliogi eu gilydd. Tebygai rhai y gall y rhai hyn gan hyny, geiliogi eu hunain. Y mae 'r fenyw yn yr holl fywiolion gan mwyaf, yn derbyn oddiwrth y gwrryw, ac wedy'n y mae'r creadur yn cael eu ffurfio yn nghorph y fam,

ac yn yr wy; eithr pysgod nid ydynt yn derbyn oddiwrth eu gilydd, ond mae had y naill a'r llall yn cyfarfod yn y dwfr, lle y mae'r pysgod bach yn cael eu ffurfio Ond eto nid yw holl greaduriaid y moroedd fel hyn, canys y mae rhai o honynt yn bwrw eu rhai bach, ac yn rhoi sugn, megis y mae rhai morfilod; ond nid oes gan y morfil ond un ar y tro. Y mae creaduriaid yn cael eu cenhedlu mewn llawer ffordd a modd, i ddangos fod Duw wedi gwneuthur pob peth yn ol ei ewyllys ei hun. Y mae pob creadur byw gan mwyaf, yn dyfod o fola y fenyw; eithr y mae creadur bychan yn America a elwir *Pipal*, tebyg i lyffant, a'i rai bach yn dyfod allan o'i gefn. Y mae amryw bethau hynod yn nghenhedliad, epiliad, a meithriniad bywiolion. 1, Ystyriwn eu doethineb naturiol rhyfeddol, yn dewis y lleoedd cymhwysaf i osod eu hâd, eu hwyau, a'u rhai bach ynddynt; a'r modd trefnus y maent yn eu gosod; ac hefyd y cymmwysder y sydd yn nghyrph llawer o honynt, i wneuthur lle mewn coed, neu ddail, neu bethau eraill, i osod eu hwyau, neu eu rhai bach y'nghadw. Y mae holl lwyth y plyf yn rhyfedd iawn yn y pethau hyn. Hâd rhai o honynt hwy yw 'r nedd bach sydd ar hyd blew ceffylau; a'r pryfed sydd yn nghefnau gwartheg, ac yn ffroenau defaid, ac ar hyd y dail, ac hefyd, mewn dail a ffrwythau. Y mae eu hwyau yn myned yn gyntaf yn bryfed, yn fegeiod, ac wedi 'n blŷf. Pryfyn rhyfeddol iawn yw'r *Ephemeron*, yr hwn nid yw yn byw uwch 5 neu 6 awr, sef o 5 neu 6 brydnhawn, hyd 11 o'r nos; ac yn hyny o amser nid yw yn gorphwys a chenhedlu ei rywar hyd wyneb y dwfr. Y mae ei wyau neu ei hâd ef yn myn'd i waelod y dwfr, ac yno, wedi'n mewn amser yn fath o fegeiod, ac wedi'n yn blŷf, ac wedi'n, fel y clywsoch, yn ebrwydd yn marw: cyffelyb iawn i hyn yw dyn gwael. 1, Ystyriwn eu gwaith yn dewis yr amser cymhwysaf i genhedlu, ac i fagu. Y mae rhai yn wir, yn cenhedlu bob amser, sef y rhai sydd a'u lluniaeth yn helaeth i'w gael bob amser, neu dan ofal dyn; eithr eraill, y rhai sydd yn newid eu gwlad, neu mewn prinder, neu mewn oerfel, neu yn cysgu, sydd yn wastad yn disgwyl ac

yn achub eu tymmor. 3, Ystyriwn y rhifedi pennodol y mae pob rhyw o greaduriaid yn genhedlu, yr hyn sydd yn wastad yn gyattebol i achos y byd, a'u gallu hwythau i'w magu. Y mae yn amlwg y gall rhai creaduriaid, sef adar, ddodwy mwy neu lai, yn ol eu hewyllys eu hunain; ond eto er hyny, nid ydynt yn dodwy heb achos, ond cynnifer ag a allant fagu. Er nad oes gan adar allu i rifo, eto y mae ganddynt ryw fath o allu, i wahaniaethu rhwng ychydig a llawer, ac i wybod pa bryd y bydd digon o wyau ganddynt, ac hefyd i ddodwy mwy neu lai. Y mae yr Iâr wrth gymeryd ymaith ei hwyau, yn dodwy llawer mwy nag a ddodwyai hi heb hyny. Cymerwch ymaith wyau Brân, pan fyddo hi yn dechreu gori, a hi a ddodwy drachefn a thrachefn. Un gwr wrth gymeryd wyau Gwenfol yn wastad, a wnaeth iddi ddodwy 19 cyn codi ei chefn. 4, Ystyriwn eu mawr ofal a'u dyfalwch y'nghylch eu rhai bach. Y mae cynneddf naturiol, a thueddrwydd mawr rhai creaduriaid, sef adar i ori, neu i eistedd ar eu hwyau, yn beth rhyfeddol. Oni buasai fod hyn wedi ei osod yn eu natur, pa fodd y gallasant hwy wybod am y ffordd hon i gynnal eu rhyw? O mor ddyfal y maent y'nghylch y gwaith hwn; ïe, dros amryw wythnosau! O mor ddoeth y maent yn troi eu hwyau! Rhai ni chymerant amser i ymofyn lluniaeth, rhag i'w hwyau fyn'd yn ofer. Rhai a borthant eu gilydd; a rhai a eisteddant ac a orant yn lle eu gilydd. Y mae'r frân fenyw a fyddo yn eistedd, yn fynych, yn dewach na'r llall, o herwydd gofal a chariad y llall, yn ei phorthi hi, ac yn newynu ei hunan. Eilwaith, â pha ofal y mae'r creaduriaid di reswm yn trin eu rhai bach! Ac â pha ddewrder yn eu hamddiffyn; ïe, y rhai mwyaf ofnus amser arall! hwy a beryglant eu bywyd i achub eu plant; ïe, hwy a anturiant fwy dros fywyd eu plant, na thros eu bywyd eu hunain. 5, Ystyriwn eu ffordd a'u medr rhyfeddol, yn porthi eu rhai bach; rhai yn rhoi sugn iddynt, a hwythau yn dra rhyfeddol yn ymofyn am y deth, cyn gynted ac y delont i'r byd. Eraill yn gosod bwyd yn eu penau, ac yn cyfranu yn dra chyson rhwng amryw; ac ereill yn gosod eu hwy-

au, ac ymborth hefyd i fynu y'nghyd: megis y gwenyn, ac amryw bryfed eraill. Y mae yr Elephant yn sugno ei hun, gan fod ei thethau y'mlaen, ac wed'yn yn rhoi y llaeth i'w rhai bach.

### 11. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Yn awr, wrth ystyried yr holl bethau hyn, y'nghyd â llawer yn rhagor ag oedd i'w ddywedyd, onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn ei waith yn creu, yn trefnu, ac yn cynnal y fath fyd? Ac hefyd, oni allwn ni ddywedyd gyda Dafydd, (*Ps.* 14. 1.) Fod y dyn hwnw yn ffôl o bryssur, a gynnyg wedi'r cwbl, i ddywedyd, neu i feddwl nad oes yr un Duw? Onid ydyw yn amlwg y dylem ni wasanaethu Duw, gan fod Duw fel hyn yn mhob peth yn ein gwasanaethu ni?

---

## PEN. IX.

### *Am amryw Lwythau Bywiolion yn neillduol, ac yn y lle cyntaf, am yr Anifeiliaid pedwar troediog.*

GWEDI son am fywiolion yn gyffredin, mi a soniaf ychydig eto am eu hamryw lwythau yn neillduol, er mwyn cael rhagor o olwg ar allu, doethineb, a daioni Duw, yn y byd. Ac yma y mae yn gofyn i mi son am ddyn yn y lle cyntaf, gan ei fod ef nid yn unig yn rhagori, eithr hefyd, wedi cael yr arglwyddiaeth ar yr holl greaduriaid eraill, *Gen.* I. 26. Ond gan fy mod i wedi son llawer am ddyn o'r blaen, mi âf heibio iddo ef yn awr at yr anifeiliaid pedwar troediog, ac a soniaf ychydig am danynt hwythau, ond yn benaf am y pethau hyny, yn mha rai y maent yn amrywio oddiwrth ddyn.

### 1. *Am eu Hagwedd Ogwyddol.*

Fel y mae dyn yn sefyll yn union i fynu, ac mai dyma yr agwedd gymhwysaf, felly yr anifeiliaid pedwar troediog sydd â'u hagwedd yn ogwyddol, neu o hyd

gyd â'r ddaear, am mai dyma'r agwedd gymhwysaf iddynt hwythau. Y mae eu hagwedd yn gymmwys i'w hachos, a'u cyrph yn gymwys i'w hagwedd: ïe, y mae cyrph pob rhyw o honynt wedi eu cymhwyso yn draodiaeth i'w hachos, a'u ffordd i fyw.

## 2. *Am Benau yr anifeiliaid pedwar troediog.*

Y mae'r pen mewn dyn yn unffurf, eithr yn yr anifeiliaid pedwar troediog yn amrafael, ïe, yn amrywio yn mhob rhyw o honynt, eithr yn wastadol, yn mhob rhyw yn gyfattebol i'w hachos a'u ffordd i fyw. Y mae yr ymenydd yn fawr mewn dyn, eithr yn fychan yn yr anifeiliaid mewn cymhariaeth, ond yn mhob un o honynt wedi ei ddiogelu yn rhyfeddol, a'i drefnu yn odiaeth.

## 3. *Am Yddfau yr Anifeiliaid Pedwar troediog.*

Y mae gwddf dyn yn fyr, eithr gyddfau yr anifeiliaid yn hirion oddieithr rhai o honynt sydd â'u gyddfau yn fyrach ac yn gryfach, ond yn wastad yn gyfattebol i'w hachos a'u ffordd i fyw. A hyn sy'n dangos gallu, doethineb, a daioni Duw; ac hefyd, yn galw arnom ni i'w ryfeddu a'i ogoneddu ef.

## 4. *Am Gylla yr Anifeiliaid Pedwar troediog.*

Y mae 'r cylla yn yr anifeiliaid pedwar troediog wedi eu cyfaddasu yn gymmwys i bob rhyw o honynt, yn ol eu hachos. Y mae un math o gylla i'r rhai sy'n bwyta ŷd a llafur, a math arall i'r rhai sy'n pori gwellt, a math arall i rai eraill; nid oes ond un cylla gan rai, eithr y mae amryw gan eraill. Y rhai sydd yn cnoi yn dda, a deubar o ddannedd ganddynt, nid oes ganddynt ond un cylla; ond y rhai sydd yn cnoi eu cîl, y mae ganddynt ddau neu dri, a'r rhai'n wedi eu cymhwyso yn rhyfeddol at hyn o waith. Y mae gan y *Camel* dri neu bedwar, ac yn yr ail o honynt, 20 neu 30 o gellau, y rhai sydd fel cydau, i gadw dwfr medd rhai, gan y

gall ef fyw yn yr anialwch sych, heb yfed dim yn hir amser. Onid yw rhagluniaeth Duw yn ymddangos yn yr holl bethau hyn, ac yn galw arnom ni i ddal sylw arnynt, ac i'w rhyfeddu?

### 5. *Am Galon Anifeiliaid pedwar troediog.*

Y mae'r galon yn mhob rhyw greaduriaid pedwar troediog, wedi ei chymhwyso a'i chyfaddasu yn rhyfedd i'w hachos. Y mae ei chelloedd mewn rhai yn un, megis yn y *broga*; mewn eraill yn ddwy, ac mewn rhai, meddant, yn dair. Mewn rhai anifeiliaid sy'n byw mewn dwfr a thir, y mae lle i'r gwaed droi trwy'r galon, heb fyned i'r ysgyfaint, ac felly hwy a allant fyw heb anadlu, neu wrth ychydig iawn. Fel hyn y mae y Môr-lo, a phob creadur yn y groth. Y mae'r galon hefyd yn yr anifeiliaid pedwar troediog wedi ei chyfleu y'nghanol y corph, eithr mewn dyn yn nês at y pen, er mwyn tywallt y gwaed yn haws i fynu, gan ei fod ef yn sefyll yn uniou. Y mae rhagluniaeth Duw yn amlwg yn y pethau hyn.

### 6. *Am wahaniaeth rhwng Dyn a'r Anifeiliaid pedwar troediog, mewn rhai Gewynau.*

Y mae mwy o gymmundeb rhwng gewynau'r pen a'r galon mewn dyn nag sydd yn yr anifeiliaid. Y mae'r mân ewynau hyny sydd yn perthyn yn benaf at y rheswm a'r serchiadau yn eisiau mewn anifail. Y mae gewynau mwydyn y cefn yn tori i lawr yn groes mewn anifeiliaid pedwar troediog, eithr yn torri allan dan leddfu mewn dyn. Rhyfedd yw rhagluniaeth a threfniad Duw yn mhob peth. Y mae amcan a bwriad yn ymddangos yn yr holl bethau hyn.

### 7. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Yn awr, wrth ystyried yr holl bethau hyn, a gweled y modd galluog, doeth, a daionus y mae yr holl anifeiliaid pedwar troediog wedi eu gwneuthur, yr hwn ni ddywedo gyd âg Elihu, (*Job* 35. 10, 11.) Pa le y mae Duw, yr hwn a'm gwnaeth i? yr hwn sydd yn

rhoddi achosion i ganu y nos. Yr hwn sydd yn ein dysgu yn fwy nag anifeiliaid y ddaear, ac yn ein gwneuthur yn ddoethach nag ehediaid y nefoedd. Myfi a ddywedaf am dano ef gyda'r Salmydd, (*Ps.* 49. 20.) Cyffelyb yw i anifeiliaid a ddifethir.

## 8. *Am Ofn Dyn ar yr holl Greaduriaid.*

Ystyriwn y lle hwnw yn *Gen.* 9. 1, 2. Duw hefyd a fendithiodd Noah a'i feibion, ac a ddywedodd wrthynt, Ffrwythwch, a lliosogwch, a llenwch y ddaear. Eich ofn hefyd, a'ch arswyd sydd ar holl fwystfilod y ddaear, ar holl ehediad y nefoedd, a'r hyn oll a ymsymmudo ar y ddaear, ac ar holl bysgod y môr; yn eich llaw chwi y rhoddwyd hwynt. Yn awr yn gyfattebol i hyn, y mae'r peth yn bod y dydd heddyw; nid oes yr un anifail, aderyn, na physgodyn heb ryw faint o ofn dyn arno. Y Llew, meddant, ni ladd ddyn heb newyn, neu berygl, neu ergyd gwn yn ei gymmell. Pa fodd y byddai ar ddyn pe na b'ai'r Creaduriaid yn ei ofni, ac yn ufuddhau iddo? Pa gynnifer sydd o honynt yn drech na dyn? A pha beth yw yr achos nad ydynt yn cyfodi yn ei erbyn, onid trefniad, gorchymyn, a bendith Duw? Onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw tuag at ddyn yn ymddangos yn rhyfedd yma: ac onid yw hyn yn gosod dyled ar ddyn, i adnabod, i ryfeddu, i ofni, i garu, i glodfori, ac i wasanaethu Duw? A gaiff pob peth ein hofni ni, ac oni bydd i ni ofni Duw?

## 9. *Gair neu ddau y'nghylch Bywyd Anifail.*

Y mae bywyd anifail yn beth tra rhyfeddol; y mae yn llawer rhyfeddach nag y mae llawer yn bwrw ei fod. Mi a ddywedaf ei fod yn rhyw beth amgenach na defnydd daearol; gan na all defnydd daearol o hono ei hun, na byw, na dirnad, nag ymsymmud. Ac os nad ydyw yn ddefnydd daearol, a ydyw yn sylwedd ysprydol, a ydyw yn anfarwol; Ac onid yw hyn eilwaith, yn annhebygol? Er cymmaint yw cyfrwystra a deall rhai anifeiliaid, eto ni ymddangosodd ynddynt

erioed, ddim tebyg i wybodaeth o Dduw, yn y mesur lleiaf. Gan hyny, onid yw y dyn nad yw yn gwybod am Dduw, yn dra thebyg i anifail? Nis gall anifail ddyfod i wybodaeth am Dduw, ond dyn a allai, pe mynai; ac am hyny, onid cyfiawn cospi 'r dyn am y peth y bo'r anifail yn cael ei ryddhau? A ydyw eneidiau, neu fywydau anifeiliaid, yn dyfod o ryw elfen ddieithr i ni; ac yn dychwelyd yno eilwaith, pan fyddant feirw, gan golli eu neillduoldeb?

---

## PEN. X.

## *Am Adar.*

WEDI son am yr anifeiliaid pedwar troediog, mi a soniaf ychydig eto am adar, y llwyth plyfog. Y mae yma lawer o bethau i son am danynt, y rhai sydd oll yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw, eithr ni chaf fi yn awr ddal sylw ond ar rai o honynt, a gadael i eraill achlysur wrth hyny i ystyried rhagor.

### 1 *Am Gyffroad ac Ehediad Adar.*

Fel y mae'r llwyth hwn o greaduriaid yn byw mewn rhan yn yr awyr, ar y ddaear, ac yn y dyfroedd; felly, y mae ganddynt gyrph wedi eu cymhwyso a'u cyfaddasu i'r holl ffyrdd hyn o fywyd. 1, Y mae dull, a llun, a gwneuthuriad eu cyrph yn gymmwys, ac yn addas i'w hachos. Nid ydynt yn drymion ac yn balfog, ond yn ysgafn ac yn brydferth i ehedeg, a nofio. 2, Y mae gosodiad y plŷf yn gymmwys, yn addas, ac yn y modd goreu gogyfer ag ehedeg a nofio, a chynhesu. 3. Y mae ganddynt gŵd olew i iro, a medr ryfeddol i drin eu plŷf. 4, Y mae ganddynt adenydd cywraint i ehedeg â hwynt. 5, Y mae eu plŷf yn rhyfeddol o ran eu natur, eu gwychder, a'u gwead; ac hefyd o ran eu hysgafndra, a'u cynnesrwydd. 6, Y mae eu cynffonau yn gwasanaethu yn rhyfedd i ehedeg yn sefydlog; ac hefyd i esgyn, ac i ddisgyn, ac i droi yn yr awyr. 7, Y mae ganddynt draed i gerdded, i ddringo, i nofio,

i ddal, ac i ddwyn eu hysglyfaeth. Yn awr onid yw rhagluniaeth Duw i'w weled, ac i'w ryfeddu yn yr holl bethau hyn?

## 2. *Am y Pen, y Cylla, a rhanau eraill o Adar.*

Y mae yr aelodau oll oddiallan, y'nghyd â'r rhanau eraill oddi fewn i adar, wedi eu gwneuthur a'u cyfaddasu yn rhyfedd, i gyd i'w hachos. Y mae'r pen yn fychan, i wneuthur ffordd trwy yr awyr yn haws. Y mae'r bîg yn brydferth i gasglu yr ymborth, ac i wneuthur perthau eraill. Ac y mae y llygad a'r glust hefyd, yn gymmwys i'w hachos; ïe, y mae'r ymenydd yn gwasanaethu iddynt yn rhagorol, er ei fod yn amrywio oddiwrth yr holl greaduriaid eraill, ond pysgod. Y mae'r tafod mewn rhai o honynt yn dra rhyfedd; megis tyllwr y coed, yn mha un y mae ei flaen yn llym ac yn gornaidd, a math o lûd arno i dynu mân bryfed allan o bren. Y mae gewynau yn rhedeg i'r bîg yn mhob math o adar, gogyfer a dirnad yr ymborth; eithr yn y rhai hyny sy'n hel eu hymborth mewn llaid o'r golwg, y mae llawer yn rhagor, a'r rhai hyny yn rhedeg hyd flaen y bîg; megis y Cyffylog, y Giach, yr Wydd, a'r Hwyad, a llawer eraill. Mewn adar eilwaith, y mae amryw gyllaâu; sef, y mae un cylla i dochi, a'r llall i dreulio yr ymborth. O ran nad oes gan adar ddannedd i gnoi, y mae cynneddf yn y lasog i falu; ac i'r dyben hyny, y mae amryw o honynt yn llyngcu cerrig bychain, geirwon, y rhai pan lyfnhânt, a fwriant allan. Fe geir clywed y cylla, neu 'r lasog yn malu mewn Eryrod, a rhai adar eraill, wrth osod y glust wrthynt pan fyddant yn weigion. Peth rhyfedd eilwaith, mewn adar, yw bod *Diaphragma*, neu'r canolfur yn eisiau; eithr yn lle hyny, y mae ganddynt amryw bledreni, nid yn unig, fel y tybir, i gadw y coluddion y'nghyd, ond hefyd i gadw awyr ynddynt, i wneuthur yr aderyn yn ysgafnach pan fyno, yn gyffelyb i nofiadydd y pysgodyn; ac i'r dyben hyny, y mae'r tyllau yn nail yr ysgyfaint, i ollwng yr awyr i mewn. Y mae rhai yn tybied, gan nad yw adar yn piso, a chan fod y *Diaphragma* yn eisiau ynddynt, fod ffordd i'r dwfr

mewn creaduriaid eraill, i fyned o'r coluddion i'r arenau, trwy'r *Diaphragma*, heb fyned trwy'r galon gyda'r gwaed: ond nid ydys etto yn gallu ei dirnad na'i chael allan. Eilwaith, yr adar hirion eu coesau sydd hirion eu gyddfau; eithr nid yw yr adar hirion eu gyddfau, bob amser yn hirion eu coesau, gan nad oes yr un angenrheidrwydd. Y mae pob peth, yn mhob aderyn, yn gyfattebol i'w achos a'i ffordd i fyw. Llawer o bethau yn rhagor sydd i'w hystyried, eithr hyn yn awr a gaiff wasanaethu; a hyn sydd ddigon i ddangos i ni fod rhagluniaeth, gallu, doethineb, a daioni Duw yn amlwg yn y pethau hyn.

## 3. *Am Symmudiad, ac Ymadawiad rhai adar.*

Y mae rhai adar yn symmud, ac yn ymadael erbyn rhyw dymhorau, o un wlad i'r llall, neu yntau i orphwys ac i gysgu; ac y maent yn dra rhyfedd yn adnabod eu tymmor, fel y dywed yr Ysgrythyr; *Jer.* 8, 7. Y Ciconia yn yr awyr a edwyn ei dymhorau, y durtur hefyd, a'r aran, a'r wenfol, a gadwant amser eu dyfodiad; eithr fy mhobl ni wyddant farn yr Arglwydd. Un peth rhyfeddol yma, yw eu bod yn adnabod eu tymhorau, sef pa bryd i fyned, a pha bryd i ddyfod. Peth rhyfedd arall, yw eu bod yn gwybod pa le i fyned, a'r ffordd i fyned; canys y mae rhai o honynt yn myned tros wledydd maith a moroedd. Y mae rhai adar yn dyfod attom ni y gauaf, ac yn myned ymaith yr haf; ac eraill gyda ni yr haf, ac yn myned ymaith y gauaf. Y mae y Cyffylog yn dyfod attom ni y gauaf, o wledydd y Gogledd; a'r Soflieir yn myned oddiwrthym ni, oddeutu yr un amser, tua gwledydd y Dehau, sef tuag Affrica dros fôr y Canoldir. Y mae rhai adar eraill yn gorphwys, ac yn cysgu gyda ni y gauaf mewn gogofau, ac mewn dyfroedd, ïe, tan ddyfroedd, yn enwedigol tua gwledydd y Gogledd; megis Gwenfoliaid: eithr y mae rhai yn tybied, eu bod gan mwyaf, yn myned y gauaf tua 'r Aipht ac Ethiopia. Y mae y tuedd angenrheidiol naturiol hyn ag sydd mewn adar, yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw yn cynnal, ac yn trefnu'r byd.

Medd y Salmydd, *Ps.* 147. 5. Mawr yw ein Harglwydd, a mawr ei nerth; aneirif yw ei ddeall.

### 4. *Am waith adar yn Gori, neu yn Eistedd ar eu Hwyau.*

Y mae amryw bethau rhyfeddol i'w hystyried yn y gwaith hwn, y rhai sydd oll yn dangos yn amlwg ddoeth ragluniaeth Duw. 1, Y mae tuedd naturiol mewn adar i gynnal eu rhyw. 2. I'r dyben hwn y maent yn ymgydio â'u gilydd. 4, Ar ol hyn y maent yn dodwy wyau. 3, Y maent yn dodwy nifer gymhesur, sef cymaint ag a fyddo ddigon, ac nid rhy fychan na gormod. 5, Os dygir eu hwyau ymaith, hwy a ddodwyant drachefn a thrachefn. 6, Hwy a eisteddant ar eu hwyau gyda phob boddlonrwydd, dyfalwch, a diwydrwydd dros yr amser nodedig. 7, Hwy a droant eu hwyau yn ofalus iawn wrth eistedd. 8, Hwy a dorant y plisg pan ddelo yr amser i'w cywion ddyfod allan. 9, Hwy a fagant eu cywion yn dra serchog a threfnus; ac hefyd yn ofalus, a hyny hyd oni ddelont i allu gwneuthur drostynt eu hunain, ac nid yn hwy. 10, Gogyfer a gwneuthur yr holl waith hwn, hwy a wnânt nyth prydferth iddynt eu hunain. Yn awr onid yw rhagluniaeth, gallu, doethineb, [a daioni Duw yn ymddangos yn ei waith yn gosod y fath duedd naturiol, mewn creaduriaid direswm, i wneuthur yr holl bethau hyn? Y mae doethineb a medr adar i fagu eu cywion yn dyfod oddiwrth Duw; ac y mae yr Estrys hebddynt, o eisiau eu cael ganddo, fel y dywedir yn *Job* 39. 17. Oblegyd na roddes Duw iddi ddoethineb; ac na chyfranodd iddi ddeall. Y mae 'r Cyw yn yr wy yn cael ei ffurfio a'i faethu ar y cyntaf â'r gwyn; ac y mae 'r melyn yn gwasanaethu i'w faethu ef wedi iddo gynnyddu, ac mewn rhan, wedi iddo ddyfod allan. Y mae rhan dda o'r melyn yn myned i fol y cyw, ac yn ei faethu ef ar y cyntaf, dros ryw amser wedi dyfod i'r byd; megis llaeth creaduriaid eraill. Y mae *Aristotle* yn dywedyd, fod yr wyau penfeinion hirion, yn dwyn ieir, a'r rhai penllydain yn dwyn ceiliogod. Y mae y llygad gwyn ag

sydd yn yr wy, ag oedd gynt yn cael ei gyfrif yn rhith y ceiliog, yn gwasanaethu i gadw yr amryw ranau yn nghyd yn eu lle, ac hefyd yr un wyneb i'r melyn i fynu, gan ac pa ffordd bynag agos y b'o yr wy yn gorwedd. Y mae rhai adar bychain yn dodwy wyau mawrion. Y mae math o Estrys yn America, yr hon sydd yn gosod pedwar o'i hwyau ar nailldu, sef yn mhedair congl ei nhyth, ac yno i fagu pryfed i fod yn ymborth i'w chywion. Yr ydys yn dywedyd am y Sofl-ieir, eu bod yn dodwy 15 o wyau, ac yn magu bedair gwaith yn y flwyddyn; sef dwy waith yma, a dwy waith wedi myned oddiyma yr Hydref i wledydd eraill; a bod eu llin cyntaf, yn magu cyn myned oddiyma: am hyny dywedir fod yr hwn a laddo un o honynt yn y Gwanwyn, pan ddelont yma, yn lladd cant. *Wilson's Dict.*

## 5. *Casgliad oddiwrth y Cwbl.*

Yn awr wrth ystyried yr holl bethau hyn mewn adar, y'nghyd a llawer yn rhagor o bethau eraill ag sydd yn rhyfedd ynddynt, megis eu hamryw dueddiadau naturiol, eu rhyfeddol gywreinrwydd yn nythu, eu mawr gyfrwystra yn enill eu hymborth, eu ffordd ryfedd o hunan-ymddiffyniad, amlder y rhai gwasanaethgar oddi wrth y rhai ysglyfaethus, buanrwydd y rhai sydd a'u hymborth y'mhell, ac arafwch y rhai sydd a'u hymborth yn agos, y'nghyd a chymhwysder a chyfaddasrwydd pob un i'w ffordd, heb gymmaint a chymal na phlyfyn yn anghyfleus, am ba rai y soniais ryw faint o'r blaen yn awr, wrth ystyried yr holl bethau hyn, meddaf, a allwn ni lai na chanfod rhagluniaeth Duw, a rhyfeddu a chlodfori ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni ef? Pa gynnifer o bethau sydd mewn aderyn bach, wedi eu cymhwyso, a'u cyfaddasu i gyflawni ei amryw achosion; megis cerdded, ehedeg, ymborthi, a chenhedlu? Y mae ei esgyrn yn geuol, er mwyn bod yn ysgafn; ond rhag iddynt felly, fod yn rhy weiniaid, y maent yn galetach nag esgyrn eraill. Yr un modd er mwyn ei achos, y mae ei adenydd a'i blyf yn ysgafn, ac eilwaith yn hyblyg, ac hefyd yn wrthdafledig. Y mae Boreli yn dangos, fod nerth y gewynau sy'n cyffroi'r adenydd, yn

10 mil o weithiau yn fwy na phwys yr aderyn. Y mae hyn yn beth rhyfedd hefyd, fod yr holl adar bob amser yn cael eu porthi, er nad ydynt, fel y dywed ein Iachawdwr, (Mat. 6. 26.) yn hau nac yn medi, nac yn cywain i ysguboriau: Ië, er nas gall dyn, â'i holl ddeall, feddwl, na dywedyd, na dangos, yn iawn, pa ffordd. Eiddo Duw ydynt, ac y mae Duw yn gofalu am ei eiddo, (Ps. 50. 10, 11.) Holl fwystfilod y coed ydynt eiddo fi; a'r anifeiliaid ar fil o fynyddoedd. Adwaen holl adar y mynyddoedd; a gwyllt anifeiliaid y maes ydynt eiddo fi.

---

# PEN. XI.

## *Am Bryfed a Phlŷf.*

WEDI son am yr anifeiliaid penaf, mi a ddeuaf eto i son ychydig am rai ydys yn gyfrif yn waelach, sef pryfed a phlŷf; y rhai, er ein bod ni yn edrych yn wael arnynt, sydd eto â gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos ynddynt, mor ryfedd ag mewn creaduriaid eraill.

### 1. *Am Bryfed yn Gyffredinol.*

Y mae creaduriaid y byd yn cael eu dosbarthu gan rai i dri math; sef creaduriaid difywyd, creaduriaid byw direswm, a chreaduriaid rhesymol. Yn awr, mae pryfed o'r ail fath, ac am hyny y dywedodd St. Awstin, fod y gwybedyn yn odidocach creadur na'r haul. Y mae rhagluniaeth Duw yn ymddangos yn rhyfedd iawn ynddynt, os ystyriwn eu hangenrheidrwydd yn y byd, eu ffordd i fyw, a'u cymhwysder iddi, eu lliosogrwydd, eu dull a'u gwêdd, eu cyffroad, a'u symudiad, eu tueddiadau naturiol, eu cenhedliad a'u heppiliad, ac hefyd eu gwychdra a'u gogoniant o ran eu lliw, ïe, eu hamryw liwiau, yn enwedigol rhai o honynt, ac yn olaf, buandra annirnadadwy llawer o honynt, y'nghyd âg amryw bethau eraill.

## 2. *Am ddull gwneuthuriad Pryfed.*

Y mae eu dull a'u llun yn gymmwys ac yn gwbl yn gyfatebol i'w hachos a'u ffordd i fyw. Y maent yn mhob peth yn y modd goreu. Nid oes nac esgyrn, na chnawd, na chroen ganddynt, fel y mae gan y rhan fwyaf o greaduriaid eraill; eithr y mae ganddynt bethau priodol iddynt eu hunain, ac y maent wedi eu gwisgo gan mwyaf, â math o harnais yr hyn sy'n gwasanaethu yn lle cig, a chroen, ac esgyrn iddynt. Gan mor fychain yw llawer o honynt, rhaid i ranau a phibellau eu cyrph, fod yn fân ryfeddol.

## 3. *Am Lygaid Pryfed a Phlŷf.*

Y mae'r llygaid yn rhyfedd yn mhob creaduriaid, eithr mewn pryfed, a phlŷf dybygwn, yn rhyfeddach eto. Y mae rhagluniaeth yr Arglwydd yn rhyfeddol i'w gweled yn y pethau gwaelaf. Rhyfedd iawn yn wir, yw'r llygaid yn y creaduriaid hyn. Ystyriwn yn 1, Ei fod yn fychan. 2, Ei fod yn ddarnau megis rhwyd. 3, Fod 8 mil o honynt, yn fynych, yn yr un llygad. 4, Fod yn rhaid bod pob darn yn loyw ac yn ddysglair. 5, Fod yn rhaid bod pob darn yn grwn, neu yn grothog i gasglu y goleuni y'nghyd, er mwyn gweled yn berffaith. 6, Fod yn rhaid bod pibellau yn dwyn sudd o'r ymenydd iddynt, cyn y gallont weled oll. 7, Fod y llygad fel twyn crwn yn sefyll allan, a'r holl ddarnau yn ei amgylchu, fel y gallo y creadur ganfod yn mhob ffordd. 8, Fod y cwbl fel hyn, o ran nas gall y creadur droi ei lygad fel y myno, fel creadur arall. 9, Ei fod hefyd yn galed ac yn ddi-deimlad, am nad oes dim Cloriau i'w guddio na'i ddiogelu. Yn awr, a oes dim cywreinrwydd yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? A oes dim gallu, doethineb na daioni yn ymddangos ymâ?

## 4. *Am* Antennæ *neu deimlwyr Pryfed a phlyf.*

Y mae'r *Antennæ* neu'r teimlwyr, yn gwasanaethu at lanhau'r llygad, ac hefyd i deimlo o'r blaen, gan na welant, fel y mae yn debygol, yn agos iawn, am na

allant bellhau a nêshau y llygad at y gwraidd, fel y gall bywiolion eraill, gogyfer a gweled yn mhellach neu yn nês. Yn mhob rhyw o bryfed, agos, y mae'r gwrryw yn llai na'r fenyw. Y mae yr *Antennæ* mewn rhai, megis y Gwybed, yn dangos eu rhyw. Y mae yr *Antennae* yn hwy ac yn fwy gan y gwrryw, a rhai llai a byrach gan fenyw.

## 5. *Am Ranau, a Chyffroad Pryfed a Phlŷf.*

Y mae pob math o bryfed wedi eu cymhwyso yn rhyfedd i'w ffordd i fyw. Y mae rhai o honynt wedi eu cymhwyso i gerdded; eraill i gerdded ac i nofio; eraill i neidio; eraill i ehedeg; eraill i gloddio; eraill i saethu allan eu gweoedd, ac wedi hyny i farchogaeth arnynt, fel y mae math o Gorrynod yn gwneuthur, a hyny weithiau, mewn uchder mawr yn yr awyr; eraill o bosibl, yn ysgafnach na'r awyr, neu yntau â ffordd ganddynt i wneuthur eu hunain felly. Y mae rhai plŷf â phedair aden ganddynt, i'w cynnorthwyo i ehedeg yn ddiysgog; a'r rhai sydd â dwy ganddynt, y mae ganddynt fath o bwysau, i'w cyd-bwyso yn yr awyr. Y mae bychandra rhai pryfed yn rhyfedd iawn, ac eto y mae pob rhan ynddynt ag sydd yn rheidiol i fywiolion, megis pen, ymmenydd, llygaid, geneu, cylla, coluddion, calon, traed, adenydd, gewynau, llestri gwaed, neu ryw fath o sudd yn ei le, y'nghyd â llawer o bethau eraill, yn ol eu nhatur a'u rhyw. Y mae cant o bryfed weithiau mewn diferyn cymmaint a phen pin, o'r hyfen gwyrddlas sydd ar wyneb dwfr brwnt, marw yr Haf; a llawer rhagor mewn cymmaint a hyny o ddwfr pybyr, gan fod y rhai hyn yn llawer manach na'r rhai o'r blaen.

## 6. *Am Ddoethineb a Chyfrwystra Pryfed, i ddiogelu eu hunain erbyn y Gauaf.*

Y mae pryfed wedi eu dodwy, yn myned yn gyntaf, yn fegeiod, yna erbyn y Gauaf, y maent yn tynu i ryw le cynnes, ac yno yn gwneuthur math o wê, neu wisg iddynt eu hunain, i'w cadw dros y Gauaf, ac wed'yn yr ail flwyddyn, y maent yn tòri allan yn blŷf. Y mae eraill hefyd yn myned i gysgu y Gauaf, ac heb achos

iddynt wrth ymborth: ond hyn sy'n rhyfedd iawn ynddynt, eu bod yn myned yn eu tymmor, o honynt eu hunain, ac hefyd yn medru gosod eu hunain yn y lleoedd cymhwysaf. Pryfed eraill ag sydd raid iddynt wrth ymborth y Gauaf, y maent trwy gynneddf naturiol rhyfeddol, yn medru darparu iddynt eu hunain mewn pryd, erbyn y cyfryw amser; megis y Gwenyn a'r Morgrug. A rhyfedd iawn pa mor ddiwyd yw pob un o honynt dros y tymmor. Y mae Agur yn eu galw yn bobl ddoeth iawn, am eu bod yn darparu eu lluniaeth yr Haf. Diar. 30. 24, 25. Ac am hyny y mae Solomon yn danfon y diog attynt, i ddysgu doethineb, rhagolwg, gofal, a diwydrwydd. (Diar. 6. 6, 7, 8.) Cerdda at y morgrugyn, tydi ddiogyn; edrych ar ei ffyrdd ef, a bydd ddoeth: Nid oes ganddo neb i'w arwain, i'w lywodraethu, nac i'w feistroli, ac er hyny y mae efe yn parotoi ei fwyd, ac yn casglu ei luniaeth y cynhauaf. Y mae'r gwenyn a'r morgrug yn byw yn ddoeth, yn drefnus, yn gariadus, yn llafurus, ac yn esiamplaidd. Y mae gan y gwenyn frenhines arnynt, a rhyfeddol yw y cariad a'r ffyddlondeb sydd iddi; hwy a gollant eu bywyd yn ei phlaid; ac os bydd hi marw, hwy adawant eu llestr, ac ni weithiant byth mwyach, eithr byddant feirw ar ei hol. Y mae'r morgrug yn dwyn eu hwyau oddiamgylch, rhag ofn iddynt gael niwaid, ac yn eu cadw y'nghyd, ac yn gorwedd yn aml arnynt, i'w gori, fel y mae yn debygol. Y maent y boreu, amser Haf, yn dwyn eu hwyau tua phen y crug, ac yno y byddant hyd brydnhawn, ac ond odid, yr ochr at yr haul: ond erbyn y nos, os bydd yn oer, neu yn debyg i wlaw, gellir cloddio dwy droedfedd yn y ddaear, cyn myned attynt. Nid deall a rheswm y creaduriaid o honynt eu hunain yw'r pethau hyn, ond cynneddf neu dueddrwydd naturiol, wedi ei gosod gan Dduw ynddynt. Ac yma gan hyny y mae ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni ef yn ymddangos yn amlwg.

### 7. *Am ofal Pryfed y'nghylch eu rhai bach.*

Y mae gofal pryfed a phlyf fel bywiolion eraill, y'nghylch eu rhai bach, yn fawr ac yn rhyfeddol iawn.

Un peth rhyfeddol iawn mewn pryfed a phlŷf, yw eu gwaith yn gofalu ac yn gwneuthur, neu yntau yn ymofyn am leoedd cymmwys i'w had a'u hwyau, fel y gallont gael pob mantais digonol i ori, ac hefyd o facth a meithriniad, hyd nes delont i allu gwneuthur trostynt eu hunain.. Y mae pob math o bryfed yn medru gosod eu hâd, neu eu hwyau yn y lleoedd mwyaf cymmwys a phriodol; nid i gyd yn yr unrhyw leoedd, eithr pob un yn y lle mwyaf cyfaddas: y rhai sydd i gael eu maeth o'r dwfr, yn y dwfr; y rhai sydd i gael eu mhaeth o gnawd sydd hefyd mewn cnawd; y rhai sydd i gael eu mhaeth o goed, neu ffrwythau, neu ddail, neu lysiau, yn y cyfryw leoedd. Y mae pryfed eraill yn perthyn i greaduriaid byw. Rhai o honynt yn magu yn mhlŷf adar. Nid oes nemmawr o adar heb eu hamryw lau; eraill yn mlew anifeiliaid; eraill mewn pysgod; eraill yn ffroenau, yn ngholuddion, ïe, yn nghnawd, a rhanau eraill o gorph dyn ac anifail. Y mae pryfed yn gyffredin i'w gweled yn ffroenau defaid, ac yn nghefnau gwartheg, ac hefyd yn ol mewn ceffylau; y rhai sydd oll yn dyfod oddiwrth fath o blŷf sy'n bwrw eu hwyau neu ei hâd i mewn. Yn Mhersia y mae math o bryfed hirion, meinion, yn magu yn nghoesau, a rhanau eraill o gyrph dynion, y rhai sy'n 6 neu 7 llath o hyd. Y mae pryfed, weithiau, yn cael eu tynu o lygaid, ffroenau, o glustiau, a rhanau eraill o ddynion. Y mae yn dra hyspys, fod pryfed yn magu yn mol dyn ac anifail, megis Llyngyr: a'r rhai hyn oll sy'n dyfod trwy genhedliad, canys nid oes yr un creadur byw yn dyfod mewn un ffordd arall. Y mae genym amryw hanesion, am rai a gawsant ymwared o amryw fath o greaduriaid rhyfedd allan o'u cyrph. Mi a adroddaf un o lawer. Yr oedd gŵr yn trafaelu yn y Gwanwyn, ac wrth ei syched, efe a yfodd o ryw ddwfr marw, oedd yn sefyll yn ochr y ffordd, ac yn mhen ychydig amser, yr oedd gwayw a phoen creulon yn ei gylla ef, yr hwn oedd yn myned waeth-waeth, heb fawr obaith am dano ef; eithr o'r diwedd efe a gyfogodd, ac a gafodd i fynu dri llyffaint byw, ac a iachaodd yn ebrwydd: gallwn wybod amcan, yr achos o'r peth hyn:

llyngcodd hâd tri o honynt gyda'r dwfr. Y mae pryfed eraill yn magu mewn pridd, mewn coed, neu mewn dail, neu gwybr o'u gwaith eu hunain: a rhyfedd yw eu gofal yn gosod i fynu, ac yn parotoi gogyfer ag ennill, a maethu eu heppil. Peth rhyfedd arall mewn pryfed, yw eu cywreinrwydd yn gosod, ac yn trefnu eu hwyau, gan ac pa un ai mewn dwfr, ai mewn pridd. Y mae'r gwybedyn yn gosod ei wyau ar wyneb y dwfr yn rhesau, ac â math o eri gwydn, yn eu cydio wrth ryw flewyn, neu wreiddyn, ac hefyd wrth eu gilydd. Y mae ei lwyth ef yn fawr iawn, wrth ystyried ei faint. Y mae ei wyau ef, gan wres yr haul a'r tymmor, yn myned yn fegeiod bach, ac wedi hyny y maent yn myned i'w cyflwr difaeth, mewn math o gydau, ac yn mhen amser y maent yn dyfod allan yn wybed. Ac fel hyn y mae llawer eraill. Peth rhyfedd arall mewn pryfed, yw eu mhedr i nythu, yn enwedigol rhai o honynt, megis y gwenyn; ac eraill ag sy'n gweu gweoedd, megis y corrynod, a phryfed y Sidan. Rhyfedd fod y fath beth gwydn yn eu cyrph, a rhyfedd mor fain y tynant ef allan, a rhyfedd hefyd gymmaint. Fe ddirwynodd gwraig fonheddig unwaith, 300 llath o edefyn oddiwrth un o Blŷf sidan, ac etto y cwbl, heb bwyso uwch dau ronyn a haner. Y mae pryfed neu blŷf yn medru brathu dail ieuaingc, a bwrw un neu ragor o'u hwyau i mewn, gyda rhyw fath o eri ag a f'o megis yn wenwyn i'r dail, yr hyn fydd yn magu math o gwd, neu afal, neu gneuen i fagu y pryfed ynddynt, y rhai mewn amser, fydd yn tori allan yn blyf: y mae hyn yn amlwg mewn math o gnau a elwir *Galls*. Y mae afalau'r Deri, ac amryw o goed eraill o'r natur hyn. Y mae afal y Dderwen yn cwympo yn yr Hydref, a'r pryfyn yn cael ei ddiogelu ynddo dros y Gauaf, ond yr ail flwyddyn, y mae yn tori allan yn blyfyn.

## 8. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Yn awr, wrth ystyried yr holl bethau hyn, onid yw rhagluniaeth Duw, tuag at gynhaliaeth y creaduriaid gwaelaf yn amlwg? Onid yw ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni yn ymddangos yn eglur yma? Ac oni byddwn

ni yn anesgusodol, os esgeulnswn ofni, caru, a gwasanaethu, Duw mor fawr, a Duw mor ddoeth, a Duw mor dda?

# PEN. XII.

## *Am Ymlusgiaid.*

Y Mae etto ryw o fywiolion, y rhai a ellir eu galw, *Ymlusgiaid*, yn mha rai y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos fel o'r blaen.

### 1. *Am eu Cyffroad neu eu Symudiad.*

Y mae rhai o honynt yn ymlusgo yn gwbl gyfan, eraill megis yn ymlusgo, eithr âg amrywdraed ganddynt, y rhai y maent yn eu symud, yn dra buan, yn dra threfnus, ac yn dra rhyfeddol. Y maent yn rhyfedd wedi eu cymhwyso i'w ffordd i fyw.

### 2. *Am eu Gwenwyn.*

Y mae rhai o honynt yn fawr eu gwenwyn, yr hwn sydd wrth bob tebygoliaeth, er mawr ac amryw ddefnydd a gwasanaeth iddynt hwy. A gall eu gwaith hwy yn sugno ac yn tynu gwenwyn o'r ddaear, fod er lleshad i'r ddaear a'i thrigolion. Y mae rhai o honynt, â cholyn yn brathu, a rhai â dannedd yn cnoi; y mae eu gwenwyn yn rhedeg trwy eu dannedd, y rhai sydd yn bibellau, nes delo allan ger llaw y blaen i dwll neu agen. Y mae rhai Meddygon, er mwyn dangos eu celfyddyd a'u mhedr, yn gosod math o does, yn y tyllau neu yr agenau hyn, ac wedi hyny yn gadael i'r bwystfil eu cnoi yn ngwydd llu o bobl.

### 3. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Llawer o bethau yn rhagor, y sydd i'w llefaru yn nghylch ymlusgiad, na chaf fi son am danynt yn awr. Ystyriwn, gwelwn, a rhyfeddwn fel y mae'r creaduriaid hyn, yn mhob peth, wedi eu cymhwyso a'u cyfaddasu i'w hachos a'u ffordd i fyw; yr hyn sy'n dangos gallu, doethineb, a daioni Duw; ac yn galw arnom ni i'w

ofni, i'w glodfori, a'i wasanaethu ef. (Ps. 105. 1, 2.) Clodforwch yr Arglwydd; gelwch ar ei enw: mynegwch ei weithredoedd yn mysg y bobloedd. Cenwch iddo, canmolwch ef, ymddiddenwch am ei holl ryfeddodau ef. (Ps. 103. 22.) Bendithiwch yr Arglwydd, ei holl weithredoedd ef, yn mhob man o'i lywodraeth. Fy enaid bendithia yr Arglwydd.

**Rhyfedd yw gallu Duw bob amser,**
**Rhyfedd rhyfedd yw ei ddoethder,**
**Rhyfedd ei ddaioni helaeth,**
**At bob rhan o'i greadigaeth.**

---

# PEN. XIII.

## *Am Breswylwyr y Dyfroedd.*

FEL y mae'r ddaear wedi ei llwytho â phob math o fywiolion, felly hefyd y mae'r dyfroedd, fel nad oes un lle yn wag. Nid yw Duw'r nefoedd a'r ddaear ddim cyn-ddrwg Arglwydd, fel nas gall deiliaid iddo ef, fyw yn mhob lle, fel na b'o un lle yn segur.

### 1. *Am amryw Greaduriaid y Dyfroedd.*

Y mae cannoedd o rywiau o greaduriaid byw yn y moroedd a'r dyfroedd, a'r rhai hyn i gyd wedi eu cyfaddasu i'w helfen a'u hachos. Y mae rhai o honynt yn rhyfeddol o fawr, ac eraill yn rhyfeddol o fychain. Y Morfil yw'r mwyaf o honynt, yr hwn sy'n llawer o latheni o hyd, ïe, ei safn, pan f'o yn agored, yn 5 llath o led. Y mae yn cael ei osod allan yn rhyfeddol yn Job, 41. Y mae rhai o breswylwyr y dyfroedd yn ymlusgo, ac eraill â thraed ganddynt, ac eraill, meddant, yn ehedeg peth, ac eraill yn nofio. Ac fel hyn y mae'r holl fywiolion sydd yn y dyfroedd, yn gallu ymsymud.

### 2. *Am Anadliad a Nofiedydd y Pysgod.*

Y mae rhyw fath o anadliad gan bysgod, neu ryw beth cyffelyb iddo, ac yn gwasanaethu yn ei le. Un peth rhyfedd iawn mewn pysgod, yw'r nofiedydd, neu y bledren wynt, wrth lenwi, neu laesu pa un, y gwnant

eu hunain yn drymach, neu yn ysgafnach; ac felly a esgynent i'r wyneb, neu a ddisgynent i'r gwaelod. Y mae'r holl greaduriaid hyn yn cenhedlu eu rhyw, ac yn fawr eu dyfais i ennill eu bywyd. Pe b'ai pysgodyn yr un bwysau yn wastadol yn ol ei faint, nis gallai nofio mewn dwfr hallt a chroew; canys os safai yn ngwaelod y dwfr croew, nis gallai lai na dyfod i wyneb y dwfr hallt; megis wy yn suddo mewn dwfr, eithr yn nofio mewn heli cryf.

## 3. *Am waith Pysgod yn Nofio.*

Y mae'r pysgodyn yn nofio yn y blaen, trwy nerth ei gynffon; eithr yn wastad ac yn ddiysgog, heb ymdaflu o'r naill ochr i'r llall, trwy rinwedd ei esgyll. Hefyd, y mae ei esgyll yn ei nerthu i ymattal, wrth eu taro yn groes allan; ac eilwaith i droi, wrth daro un allan, a'r llall i mewn; yn gymmwys fel rhwyf neu lyw, yn troi bâd neu long.

## 4. *Am Hiliad Pysgod.*

Y mae pysgod yn hilio yn dra rhyfeddol, yn ol y Gair yn Gen. 1. 20. Heigied y dyfroedd o ymlusgiaid byw. Y mae llaeth y gwryw, a phys y fenyw yn gludio wrth eu gilydd yn y dwfr, fel y mae pysgodyn i ddyfod oddiwrth bob un o'r pys hyn. Ond etto y mae rhai Creaduriaid yn y moroedd, yn bwrw eu rhai bach yn fyw, fel anifeiliaid y ddaear. O, ba fath gynnydd a fyddai ar bysgod, fel ar bethau eraill, oni b'ai melldith Duw yn y dechreuad, o herwydd pechod dyn! Nid oes mo'r cynnydd arnynt hwy, na dim arall, ag a allasai fod wrth y creadigaeth; pe b'ai hiliad un pysgodyn yn byw, ac hilio dros 10 mlynedd, hwy lanwent holl foroedd ac afonydd y byd. Hyn, y'nghyd â miloedd o bethau eraill ag sydd i'w hystyried ynddynt, pe mynwn i sefyll arnynt, sy'n dangos rhagluniaeth, gallu, doethineb, a daioni Duw yn mhob lle, ac yn mhob rhyw o greaduriaid.

## 5. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Ystyriwn yr holl bethau hyn, a rhyfeddwn, a chlodforwn yr Arglwydd. (Ps. 136. 1, 25.) Clodforwch yr

Arglwydd; canys da yw: o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd. Yr hwn sy'n rhoddi ymborth i bob cnawd: canys ei drugaredd sydd yn dragywydd. (Ps. 107. 24, 25.) Y rhai a ddisgynant mewn llongau i'r môr, gan wneuthur eu gorchwyl mewn dyfroedd mawrion. Hwy a welant weithredoedd yr Arglwydd, a'i ryfeddodau yn y dyfnder. Myfi a ddywedaf gyda Job, wrth bob darllenydd a gwrandawydd; (Job 12. 7, 8, 9, 10, 11.) Gofyn yn awr i'r anifeiliaid, a hwy a'th ddysgant, ac i ehediaid yr awyr, hwy a fynegant i ti, neu dywed wrth y ddaear, a hi a'th ddysg, a physgod y môr, a hyspysant it'. Pwy ni ŵyr yn y rhai hyn oll, mai llaw yr Arglwydd a wnaeth hyn? Yr hwn y mae einioes pob peth byw yn ei law; ac anadl pob math ar ddyn. Onid y glust a farna ymadroddion? a'r genau a archwaetha ei fwyd?

---

# PEN. XIV.

## *Am Goed a Llysiau.*

YMA etto y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos. Pa amrywiaeth sydd o honynt, ac i ba gynnifer o ddefnyddiau a gwasanaeth y maent!

### 1. *Am amryw ddefnyddiau a gwasanaeth Coed a Llysiau.*

Y mae rhai er adeiladaeth, ac eraill er cynhaliaeth dyn ac anifail, ac eraill er physigwriaeth a meddyginiaeth, ac eraill er pleser a hyfrydwch, ac eraill er tân a chynhesrwydd.

### 2. *Am wneuthuriad Coed a Llysiau.*

O Mor rhyfedd ac mor hynod yw eu dull a'u gwneuthuriad, a'r modd y mae'r sudd a'r awyr, yn cael eu dwyn oddiamgylch ynddynt, er maeth a bywyd! Y mae eu gwychdra, eu hamryw liwiau, a'u perarogiau i'w rhyfeddu. Y mae'r hedyn eilwaith, i'w ryfeddu, yn mha un y mae'r llysieuyn neu'r pren yn gyfan i'w weled,

er y bydd yr hedyn, weithiau, mor fychan, na's gellir ei weled, heb wydr-ddrych; ac hefyd, nid y pren neu'r llysieuyn mwyaf, sydd â'r hedyn mwyaf bob amser. Y mae hâd ar y Rhedyn, ond cael gwydr-ddrych i'w gweled, gan eu bod mor fân. Y mae llawer o lysiau yn dra rhyfedd yn cau eu blodau, erbyn y nos ac erbyn y Gauaf, er mwyn diogelu yr hâd. Y mae coed, a rhai llysiau, yn sefyll i fynu y Gauaf, gan eu bod yn abl i ddwyn ac i ddioddef yr oerfel; eithr eraill, y rhai nis gallant hyn, sy'n cael eu diogelu tan y ddaear yn eu gwraidd. Y mae hâd pob math o lysiau, pan ddelont i addfedrwydd, yn cael eu gwasgaru a'u hau yn dra rhyfeddol. Y mae hâd rhai yn myned yn union i'r ddaear wrth eu pwys: y mae hâd eraill yn ysgafn, ac yn cael eu dwyn ymaith gan y gwynt, ac am hyny y mae ganddynt fachau, i daro am bethau oddiamgylch, rhag myned yn rhy bell; megis *Avens*, *Agrimony*, a llysiau yr wydd. Y mae hadau eraill â math o adenydd ganddynt i ehedeg oddiamgylch; megis dant y llew; ac eraill o'r fath. Y mae hadau eraill mewn coden, a'r rhai hyn â math o *spring* ynddynt, yn agor yn ddisymwth, i daflu yr had oddiamgylch, a hyny yn unig ar dywydd gwlyb, yr amser cymhwysaf i'r had i fyned i'r ddaear; megis Surion y coed, a Thafod yr hydd, ac eraill. Y mae cnau yr India, neu'r *Nutmeg*, yn cael eu llyngcu, meddant, gan fath o adar; ac wedi bod ynddynt dro, y maent yn eu bwrw allan, ac wedi'n o herwydd hyny, a'r llys sydd yn eu cylch, y maent yn egino, yn gwreiddio, ac yn tyfu yn goed, yr hyn ni wnaent wrth eu plannu. Y mae rhagluniaeth a daioni Duw yn amlwg yn hyn, sef fod yr ŷd, yr hwn yw y llysieuyn rheitiaf at wasanaeth dyn, yn tyfu yn hawdd, ac yn mhob lle.

### 3. *Am Rinweddau Coed a Llysiau.*

Y mae pren neu ychwaneg yn yr India, meddant, yn gwasanaethu holl achosion dyn; megis i adeiladu, i ddilladu, i borthi, i ddiodi, ac amryw bethau eraill. Rhyfeddol yw'r rhinwedd sydd mewn coed a llysiau, gogyfer a iachâu clefydon mewn dyn ac anifail! Y

mae rhinwedd enwedigol y'nghoed a llysiau pob gwlad, i iachau clefydon y wlad hono. Y mae rhai llysiau yn iachau clefydon tebyg iddynt o ran lliw, ac eraill o ran llun. Y mae rhai coed mewn rhyw fanau yn gwasanaethu yn fynych yn lle ffynnonau dyfroedd. Ac y mae hyn yn rhagddarbodaeth ac yn rhagluniaeth fawr mewn gwledydd sychion. Ni raid ond tori cangen o honynt, fe ffrydia allan beth rhyfeddol o ddwfr. Y mae rhai coed yn cadw llawer o ddwfr yn eu dail, i ddiodi dyn ac anifail.

## 4. *Am dyfiant Coed a Llysiau.*

Y mae coed a llysiau yn tyfu yn rhyfeddol. Y mae coed a llysiau, fel y clywsoch, yn dyfod o hedyn, yn mha un y byddant yn eu llun a'u ffrwyth i'w gweled trwy Ficroscope; ïe, yr oedd y cwbl yn yr hedyn cyntaf ag oedd i ddyfod oddiwrtho ef byth; sef un hedyn yn y llall. Y mae twll neu agoriad yn yr hedyn i'r eginyn ddyfod allan, er na bydd bob amser yn weledig i'r llygad noeth. Y mae un gangen o'r hedyn yn taro i waered i fod yn wreiddyn; ac y mae maeth o'r hedyn yn myned iddo, hyd oni byddo'n abl i sugno maeth o'r ddaear; ac yna y mae'r maeth yn rhedeg ar hyd yr un ffordd i fynu, ac yn myn'd i faethu'r gangen arall o'r hedyn, sef yr eginyn, yr hwn sy'n myned yn gorph i'r pren neu'r llysieuyn. Un peth rhyfeddol iawn yw hyn, fod un gangen o'r hedyn yn troi i lawr, a'r llall i fynu yn wastad, pa fodd bynag y bo'r hedyn yn gorwedd. Y mae'r achos naturiol o'r peth hyn, tu hwnt i ddeall y doethion. Nid oes un peth mewn pren na llysieuyn, ïe, gymmaint a dalen, nad yw yn ddefnyddiol ac yn angenrheidiol, er nad ydym ni bob amser yn adnabod ei ddefnyddioldeb. Os ystyriwn yn iawn, y mae'n dra rhyfedd fod coed na allant sefyll eu hunain, wedi eu cymhwyso i graffu ar bethau eraill. Rhyfedd fod pob hedyn yn dwyn ei bren ei hun! Rhyfedd fod y ffrwyth ar rai coed, yn addfedu oddifry, ac eraill oddiobry, y dail uchaf ar rai coed, a'r dail isaf ar goed neu lysiau eraill, yn crino gyntaf! Y mae'r ffrwyth ar rai coed yn y man y bo'r blodau; ond ar goed eraill

yn y gwrthwyneb! blodau rhai coed, ie, y rhan fwyaf o goed a llysiau, sydd o flaen y ffrwyth; ond y mae blodau rhai ar ol; megis, Melons, Cucumbers; a rhai heb flodau oll. Ffrwyth a dail rhai coed sydd y'nghyd, ond rhai eraill o'r nailltu, megis y Winwydden, yr hon sydd a'i dail y naill ochr, a'r ffrwyth yr ochr arall. Onid oes rhaglûniaeth yn yr holl bethau hyn, gan fod y cwbl yn dyfod i ben yn y modd gorau; Rhyfedd yw rhagluniaeth yr Arglwydd y'mhob peth!

## 5. *Am felldith y Ddaear.*

Oni ba'i Melldith Duw ar y ddaear yn y dechreuad o herwydd pechod dyn, byddai coed a llysiau yn gan' ffrwythlonach nag y maent. Dywedodd Duw wrth Adda, Gen. 3. 18. Drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i ti. Ac hefyd dywedodd wrth Cain, Gen. 4. 12. Pan lafuriech y ddaear, ni ychwanega hi roddi ei ffrwyth it'. Pa ham y mae'r ddaear yn dwyn drain ac ysgall o honi ei hun heb flino; ac yn methu a dwyn pethau angenrheidiol i ddyn, heb fawr a dyfal driniaeth? Y mae coed wedi eu cymhwyso o ran eu gwneuthuriaid, i ddwyn llawer mwy o ffrwyth nag y maent. 1, Y mae pob cangen yn dwyn llawer o noppeu. 2, Y mae pob nopyn i fyned yn gangen. 3, Y mae pob cangen eilwaith i fyn'd megis yn bren; ac felly yn y blaen i ddwyn miloedd o ganghenau, nopau, a ffrwythau. Y mae gwaith dynion yn impio ac yn grafftio yn profi hyn. Rhyfedd iawn fod y nopyn a refftir yn myn'd yn bren, ac yn dwyn ffrwyth yn ol ei natur ei hun, er ei fod yn cael ei faeth oddiwrth wreiddyn arall! Y'mhen 12 mlynedd y dygai fwy na biliwn o nopeu, a chynifer neu fwy o ffrwythau yn dyfod oddiwrth yr un grefftyn, oni bai fod peth dirgel yn attal; a hyn a fyddai lawer mwy nag y sydd yn dyfod oddiwrth filoedd yn awr. Eilwaith pa ham na ba'i can' mesur o wenith neu lafur arall, yn dyfod oddiwrth bob un; gan fod llawer corsen oddiwrth yr un hedyn, a llawer o rawn ar yr un gorsen, oni ba'i fod melldith Duw ar y ddaear.

### 6. *Rhai pethau'n rhagor y'nghylch Coed a Llysiau.*

Yr ydys yn cyfrif 1600 o rywiau o lysiau yn tyfu yn y wlad hon. Goreu achles meddant, i goed a llysiau, yw eu hachles a'u llygredigaeth eu hunain. Yr ydys yn meddwl fod rhai llysiau, megis Tafod yr Hydd, Rhedyn, a Mwswm, yn dwyn milliwn o hadeu, y rhai gan eu mandra ydynt yn anweledig, ac am hyny nid rhyfedd eu bod yn cael eu dwyn gan y gwynt i benau tai, a'r cyfryw leoedd. Ac etto er maned ydynt, y mae llun y llysieuyn canlynol yn mhob un o honynt. Y mae rhai hadeu yn cadw eu ffrwythlondeb yn y ddaear, er na chant dyfu, o herwydd rhyw ddamweiniau, dros 20 neu 30 o flynyddau; ac yna eilwaith yn tyfu.

### 7. *Casgliad oddiwrth y cwbl.*

Yn awr ystyriwn yr holl bethau hyn; a rhyfeddwn allu, doethineb, a daioni Duw; a gwelwn ein rhwymedigaeth i'w wasanaethu ef yn ffyddlon, gan ei fod ef fel hyn, wedi cymhwyso pob peth yn y modd goreu, i'n gwasanaeth ni. Medd y Salmydd, Ps. 104. 14. Y mae yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llysieu i wasanaeth dyn: fel y dycco fara o'r ddaear.

---

## PEN. XV.

### *Am y Pedwar Defnydd yn fwy neillduol, sef Awyr, Dwfr, Daear, a Thân: ac yn gyntaf am yr Awyr.*

ER fy mod wedi son am yr Awyr o'r blaen yn y cyffredin, etto mi gaf son am dani yn awr yn fwy neillduol, gan fod gallu, doethineb a daioni Duw, yn ymddangos yn dra rhyfeddol ynddi.

### 1. *Am nattur yr Awyr.*

Y mae'r awyr megis môr o ddeutu'r ddaear, ac yn dra angenrheidiol, gan na ddichon na dyn, nac anifail,

na physgodyn, na llysieuyn, fyw hebddo. Y mae miloedd o bethau yn cyd gyfarfod ynddi, ac etto y mae Duw yn ei chynnal yn iachus. Y mae llawer o anadliadau dynion yn derchafu i fynu iddi, llawer o anadliadau anifeiliaid o bob math, llawer o anadliadau ymlusgiaid, a llawer o honynt yn dra gwenwynllyd. Llawer o darth yn codi i fynu o for a daear, ac yn fynych o leoedd marwol, eithr yn wastad o lawer o leoedd aflan ac afiach. Llawer o arogl per a drewllyd yn derchafu i fynu oddi wrth bob peth, ac yn cyd-gyfarfod. Llawer o dân oddi wrth amryw bethau, megis yr haul, a'r ddaear, a'r ser. Ac fel hyn y mae yn fôr o filoedd o bethau, ac yn amgylchu y ddaear, ac yn ei ffrwythloni. Y mae yr oes ddiweddaf wedi cael allan ddau beth mawr mewn perthynas i'r awyr, na wybuwyd mo honynt erioed o'r blaen, sef ei phwys, a'i gwaith yn bod o natur *spring*, yn cymmeryd ei gwasgu, ac ymdaenu, fel y gwelir wrth wasgu pledren.

## 2. *Am Bwys a Gwasg yr Awyr.*

Y mae ar bob troedfedd o ddyn, neu dŷ, neu ddaear, neu unrhyw beth arall, o bwys awyr, bwysau 32 troedfedd o ddwfr, yn golofn troedfedd ysgwar; ond nid ydym ni yn teimlo nac yn dirnad hyn, mwy nag y teimlem bwysau dwfr yn ngwaelod llyn, gan fod yr awyr yn pwyso yn mhob ffordd, ac felly yn cyd-bwyso ei hun; ac hefyd y mae y gronyn lleiaf o honi, yn ddigon i attal, ac i gynnal llawer mwy, îe, 'r cwbl.

## 3. *Am Bwys rhyfeddol yr Awyr ar Ddyn.*

Cyfrifwn ddyn yn 6 troedfedd yn mlaen ac yn ol; cyfrifwn o bwys awyr ar bob troedfedd o hono, yn unig bwysau 30 troedfedd o ddwfr, cyfrifwn bob troedfedd o ddwfr, yn 63 pwys: yna y mae yn amlwg y bydd ar droedfedd o ddyn, o bwys awyr, 1890 pwys: ac yn ganlynol, ar 6 troedfedd, neu y naill ochr i ddyn, 11340 o bwysau: sef dyn oll, 22680 o bwysau. Ond er mwyn cyfrif cyfan, ni a gyfrifwn y cwbl, yn unig yn 20 mil o bwysau, yr hyn yn sicr nid yw'n ormod.

### 4. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr, onid yw yn rhyfedd fod gwasg o 20 Mîl o bwysau ar ddyn, pan nad yw yn gwybod oddi wrth ddim? Pa beth nas gall ein Duw ni ei wneuthur? Pa fodd y deallwn bethau pell, gan nad ydym yn gwybod dim am bethau mor agos? Onid yw hyn yn rhyfeddol, ac eilwaith yn rhyfeddol, fod dyn yn cael ei waredu tan y fath amgylchiad? Oni byddai 10 mil o bwysau yn taro ar y naill ochr, neu du iddo, yn ddigon i'w wneud ef yn chwilfriw; oni bai fod 10 Mil ar y tu arall, yn eu cyd-bwyso? onid yw yn rhyfedd fod y gronyn awyr sydd ynom ni, yn gallu cyd-bwyso, attal, a chynnal yr un sydd oddi allan? Onid yw gallu, doethineb a daioni Duw yn yr holl bethau hyn, yn ymddangos yn eglur ac yn amlwg? Y mae yn rhaid i ni wrth y fath awyr a hyn, ac etto, byddai i'r fath ein llethu ni mewn moment, oni b'ai trefniad doeth yr Arglwydd. Yn awr a oes dim ofn, parch, cariad, clod, addoliad, gwasanaeth, a gogoniant yn ddyledus yma?

### 5. *Profiad am Wasg yr Awyr.*

Er rhyfedded ac anhebycced y gall y pethau hyn ymddangos i rai, etto y maent yn wirionedd sicr, ac yn dra hyspys i'r rhai sy'n gydnabyddus â'r offerynau sydd yn sugno yr awyr allan o bethau, sef *Air-pump*. Pe byddai i chwi osod gwydr teneu ar wyneb llestr, a'i gleio felly, fel nad elai dim awyr i mewn, ond a fyddai yno o'r blaen, chwi ga'ech weled y byddai y gwydr yn ddigyffro, fel pe byddai heb ddim pwys arno; ond pe byddai i chwi eilwaith, beri sugno yr awyr allan o'r llestr, byddai i'r gwydr fyned yn deilchion ac yn friwsion mewn moment, a hyny gyda swn fel ergyd dryll. Y mae hyn yn dangos pwys a gwasg yr awyr, ac nid yn unig hyny, ond hefyd ei chyd-bwysiad, gan fod yr ychydig awyr a f'o i mewn, yn attal, ac yn cynnal yr un oddi allan. Y mae amryw ffyrdd i brofi pwys yr awyr; gellir pwyso llestr mewn clorian, ac wed'yn sugno yr awyr allan, a'i bwyso drachefn, ac yna'r gwahanol bwysau, a fydd pwysau yr awyr.

Pwysau yr awyr a welir yn amlwg yn ngwydr y tywydd neu'r hin, (*Weather Glass.*)

## 6. *Am Bwys awyr ar Dŷ.*

Oni b'ai fod ychydig awyr yn attal, yn cynnal, ac yn cyd-bwyso mwy, ni byddai na thŷ, na thwlc yn abl sefyll. Bwriwn fod ystafell yn bedwar ysgwar, a phob ysgwar yn 10 troedfedd, a'r pen yr un faint; yn mhob ysgwar, i gyd, 100 troedfedd; ac ar bob troedfedd, o bwys awyr, dros 1800 pwys; ac ar bob ysgwar, o ddeutu 180000, ac ar y cwbl, y pum cymmaint, sef 9 can mil o bwysau, gan fod awyr fel dwfr, yn pwyso ac yn gwasgu yn mhob ffordd fel eu gilydd. Yn awr, ni bydd y tŷ neu'r ystafell hon, yn cynnwys rhagor na mil o droedfeddau ysgwar; ac nid oes mewn mil o droedfeddau o awyr, fwy na phwys un droedfedd o ddwfr, neu 63 pwys, gan nad yw pwysau awyr i ddwfr, ond fel un i fîl; yn awr, beth sydd yn cadw'r tŷ neu'r ystafell hon, rhag myned y'nghyd yn friwsion, yn enwedigol, y ffenestri gwydr, ond yr ychydig awyr hyn f'o i mewn yn cydbwyso ac yn attal y llall. Gwelwn gan hyny pa fath alluoedd sydd yn ein hamgylchu bob moment, ac yn barod i'n llyngcu bob amser, ïe, pan f'om yn eistedd yn esmwyth mewn tŷ neu ystafell, heb feddwl am ddim peryglon, oni b'ai gallu, doethineb, a daioni Duw yn nhrefniad ei greaduriaid. Pa beth a 'dybiaf am y rhai a gablant ac a ddibrisiant Dduw mor fawr, a Duw mor dda, pan y maent fel hyn yn ei law ef, heb neb arall yn abl i'w gwaredu! Yn sicr y mae'r dynion hyny, heb ystyried na gweled yn mha gyflwr y maent.

## 7. *Am Gymwynasau a Defnyddiau yr awyr.*

Pa beth a ddywedaf am gymwynasau a defnyddiau'r awyr! Y maent megis yn anneirif. Pa fath fôr o awyr sy'n amgylchu'r ddaear, ag sydd mor angenrheidiol! Pa mor fuddiol yw ei phwys a'i *spring*, gan nas gallem ni, na bywiolion eraill, heb hyn, anadlu! Pa mor gymmwys y mae'r ysgyfaint wedi ei chyfaddasu

i'r awyr, mewn dyn ac anifail, a hyny cyn dyfod i'r byd, a chyn bod yn rhaid wrthi! Heb awyr ni byddai un creadur byw. Heb awyr nis gallai un creadur sugno. Heb awyr ni byddai na gwynt, na gwlaw, na tharth, na gwlith, nac unrhyw ronynau, nac aroglau yn dyrchafu i fynu. Heb awyr ni byddai'r ddaear yn ffrwythlon. Heb awyr nis gallai un aderyn ehedeg. Heb awyr nis gallai'r pysgod fyw na nofio yn y dwfr, eithr byddai iddynt, er eu gwaethaf a'u goreu, gael eu dwyn i fynu i'r wyneb, fel y gwelir yn amlwg yn yr *Air-pumps*. Heb awyr, heb dân, yr hwn sydd mor fuddiol, ac angenrheidiol i ni yn y byd, i'n goleuo yn y tywyll, i'n gwresogi yn yr oerfel, ac i wneuthur ein gorchwylion. Heb y pwys sydd yn yr awyr, ni byddai i fŵg, a tharth afiach oddi wrth amryw bethau, y rhai a'n tagent, neu a'u gwenwynent, ddyrchafu i fynu fel olew mewn dwfr, i gael eu gwasgaru gan y gwynt. Heb awyr, ni byddai na swn, na llais, nac ymadrodd. Heb awyr, nis gellid byth godi, na sugno dwfr i fynu mewn pibellau. Heb bwys yr awyr, ni byddai i ddiod, nac amryw bethau eraill, sefyll yn eu llestri, eithr byddai iddynt weithio, a bermanu i fynu, ac allan yn dra rhyfeddol, fel y gwelir mewn *Air-pumps*. Ac hefyd, heb awyr, ni allai un wreigdda, wrth dwymo ei dwfr, gael ganddo aros yn y crochan: hyn a brofir wrth osod cwpanaid o ddwfr twym mewn *Air-pump*; canys cyn gynted ag y sugnir yr awyr allan, ac y cymmerir ymmaith ei phwys a'i gwasg, fe fydd i'r dwfr dasgu i fynu, ac ymdaenu, agos, fel powdr ar dân. Heb awyr, ni byddai gwawr i'r dydd, foreu na hwyr, eithr byddai iddi fyned yn ddydd ac yn nos yn ddisymwth. Hyn sydd, sef y wawr, trwy ogwyddiad neu *Refraction* y goleuni yn yr awyr; trwy'r hyn hefyd yr ydym yn canfod yr haul, cyn y delo hi yn gwbl uwch y ddaear, ac wedi yr elo hi tan y ddaear. Yr holl bethau hyn, y'nghyd â llawer yn rhagor, sy'n cael eu gwneuthur gan yr awyr, a hyny yn benaf trwy rinwedd ei phwys, ei gwasg, a'i *spring*; yr hyn ni wybuwyd erioed hyd yn ddiweddar, sef er y flwyddyn 1643, y pryd y dechreuwyd dyfod, trwy ragluniaeth Duw, i olygu yn

dywyll rai o'r pethau hyn. Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? Ac onid yw efe i'w ryfeddu, i'w ofni, i'w garu, i'w glodfori, i'w ogoneddu, a'i wasanaethu?

### 8. *Am Ymddangosiadau, a* Meteors *yn yr awyr.*

Y mae'r awyr, fel y clywsoch, yn fôr ag sy'n amgylchu y ddaear, yn mha un y mae miloedd o bethau mân anweledig yn ymgyfarfod, wrth waith pa rai yn cydio ac yn ymgymmysgu â'u gilydd, y mae amryw fath o ymddangosiadau yn cael eu trefnu, megis tân, a phethau tanllyd o amryw fath; cymmylau, gwynt, gwlaw, yr enfys, mellt a tharanau, awyr iach ac afiach. Y mae'r fath darth bras anweledig, yn dyrchafu o rai pydewau, ac a ennyn wrth ddal canwyll uwch eu penau, yr hyn hefyd a wna'r gwynt sy'n dyfod trwy ddyn, yr hyn sydd yn dangos y modd y mae llawer o bethau yn cael eu hennyn yn yr awyr. Y mae amryw bethau yn ymgasglu y'nghyd yn yr awyr, ac yn ennyn yno amryw brydiau, ac yn ymddangos yno mewn amrywiol ffyrdd. Y mae pethau yn fynych yn ennyn yn yr awyr, yn gyffelyb i'r damp mewn rhai pyllau glo. Y mae rhai pethau iach di wenwyn, wrth ymgydio ac ymgymysgu yn yr awyr, yn troi ac yn dyfod yn dra gwenwynllyd; megis halen a *mercury* yn gwneuthur *Sublimate*, cynddrwg gwenwyn a'r gwaethaf; ond eilwaith, trwy gelfyddyd, oddi wrth hwn a *Sal Tartar*, yr ydys yn gwneuthur *Mercurius dulcis*, peth iachus a da iawn mewn llawer o achosion. Oddi wrth weithrediadau cyffelyb i'r rhai hyn, y mae'r pla, a chlefydon heintus yn codi. A rhyw betheu cyffelyb i hyn, yw yr achos fod y pla yn darfod yn yr Aipht, y dydd y dechreuo'r afon lifo, er y bydd 500 yn marw y dydd o'r blaen. Ac yr ydys yn dywedyd, na bu farw nemawr o'r pla yn Llundain, yn y flwyddyn 1665, gerllaw y Seleri hyny, lle'r oedd llawer o *Tobacco*, a'i arogl yn gryf yn yr awyr, ie, meddant, lle yr oedd llawer o'i fŵg. Gan fod yr awyr yn llawn o bethau budron a glân, y rhai sy'n

dyrchafu i fynu yn mhob lleoedd, oddi wrth bob math o bethau iddi, onid yw yn dda nad ydym ni yn gallu eu gweled, na'i blasu, gan y byddai hyny yn llawer o ofid i ni, pan y byddem yn gweled, ac yn dirnad cynnifer o bethau afiach ac aflan yn myned i'n cyrph? Y mae yr awyr weithiau yn drymach, ac weithiau yn ysgafnach; a phan y b'o hi dewaf ac yn dromaf, dyna'r pryd y bydd pethau ysgafn yn dyrchafu uchaf, yr un modd a phethau ysgafn yn dyrchafu i wyneb y dwfr. Nid yw y cymmylau gwynion yn uchel, ond niwl a tharth wedi dyrchafu i fynu. Nid yw'r gwlaw, ond tarth yn cydio y'nghyd yn fwy neu yn llai, ac felly yn trymhau ac yn disgyn. Nid yw'r eira a'r cenllysg, ond y cyffelyb beth yn rhewi. Nid yw enfys ond disgleirdeb yr haul mewn amryw fodd, ar amryw fath o gymmylau. Croged un frethyn du i fynu yn yr haul, a safed rhwng yr haul a'r brethyn, a bydded i ddwfr gael ei ollwng i lawr yn ddiferion, rhyngddo ef a'r brethyn eilwaith, ac fe gaiff weled llun enfys. Nid ydyw y gwynt, fel y clywsoch o'r blaen, ond ffrwd yr awyr, trwy ba un y mae yn cael ei chadw yn bur, a phob rhyw darth yn cael ei wasgaru; canys y mae y tarth mwyaf afiach, o'i hir wasgaru yn yr awyr, yn myned yn ddiniweidiol; megis gronyn o wenwyn a deflir am ben afon. Heb wynt, byddai yr awyr yn ebrwydd yn llygredig, ac yn afiach. Heb wynt ni byddai fawr o wlaw dros y wlad, ond byddai yr afonydd yn sychu, a'r ddaear yn methu, a'r anifeiliaid yn trengu, a'r dynion yn ymboeni, a'r byd yn terfynu. Heb wynt, byddai llawer gwaith angenrheidiol yn ôl. Heb wynt, ni byddai fawr o forio, ac o farsiandiaeth rhwng gwledydd. Y mae amryw fath o wyntoedd gwasanaethgar, heb son am gorwyntoedd a themhestloedd. Y mae'r gwynt yn un o'r pethau anwadalaf yn y byd, ac am hyny dywedir yn fynych, "Mor anwadal a'r gwynt". Etto er hyn i gyd, y mae yn y modd goreu, ac wedi ei drefnu yn y wedd ddoethaf. Y mae gwyntoedd ein gwlad ni, a lleoedd eraill, yn dra symudol, yn chwythu o bob cwr a'r nefoedd, a hyny sy'n fwyaf cymmwys ac addas i'n hachosion. Ond pan yr elir tua chanol y byd, y mae

yno ddau fath o wynt trefnus: y mae un math yn chwythu yn wastad, agos, yr un ffordd. Gwynt o'r fath hyn sydd gerllaw llinyn y Cyhydedd, yn chwythu tua'r Gorllewin; a gwynt arall cyffelyb iddo draw yn y Dehau, yn chwythu yn wastad tua'r Dwyrain: ac oni b'ai'r gwyntoedd hyn, byddai megis yn anmhosibl na myned na dyfod o'r India. Y mae rhyw arall o wynt, yn chwythu un haner blwyddyn y naill ffordd, a'r haner arall yn y gwrthwyneb. Y mae sŵn yn myned cyn gynted, agos, yn erbyn gwynt, â chyd âg ef, er nad yw yn myned cyn belled. Y mae gwynt mawr yn rhedeg yn gyflym iawn, ond etto, nid yw cyflymdra y gwynt mwyaf, ag a fyddo yn diwreiddio ac yn dinoethi coed a thai, at gyflymdra swn, ond fel un i 33. O, mor fuddiol, mor rhyfedd, mor gyflym, mor nerthol, ac etto, mor anweledig yw'r gwynt!

Pedwar dirgel ni welir,
Y maent hwy yma 'n y tir;
Tyrfau ac angau terfyn,
A gwynt oer, ac enaid dyn.

Y mae Taliesin, yn y 6ed oes, yn dywedyd yn rhyfedd, ac yn canu fel hyn am y gwynt:

Creadur cadarn, heb gig, heb asgwrn,
Heb wythien, heb waed, heb ben, heb draed;
Ac ef ni anwyd, ac ef ni welwyd;
Ef ar fôr, ef ar dir; ni wyl, ni welir,
Ac ef yn anghywir, ni ddaw pan ofynir;
Ef yn anamlwg, canys nis gwyl golwg;
Ef yn ddrwg, ef yn dda, ef hwnt ac yma.

Nid yw gwynt mawr a f'o yn diwreiddio coed, yn rhedeg fawr gyda milltir mewn tri munud. Y mae gwynt yn cael ei fagu mewn amryw ffyrdd a modd, rhy faith i'w hadrodd yma, ac hefyd mi a soniais ychydig am hyny o'r blaen.

### 9. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr ystyriwn, gwelwn, rhyfeddwn, clodforwn, a gogoneddwn allu, doethineb, a daioni Duw, yn creu elfen mor anweledig, ac mor rhyfeddol a'r awyr; ac

hefyd yn ei chymhwyso, ac yn ei chyfaddasu at gynnifer o ddefnyddiau ac achosion. Yn awr yr hwn ni welo ragluniaeth Duw, yn nhrefniad yr awyr, sydd wedi troi o ddyn yn anifail, neu yn hytrach fel anifail, canys llawer gwell yw bod *yn* anifail, na bod *fel* anifail. O mor rhyfeddol yw gallu, doethineb, a daioni Duw! Ac O rhyfeddol yw gwaeledd, ffolineb, a drygioni dyn!

Nid yw dynion drwg, annuwiol,
Ond ryw fochach anystyriol,
Yn erlid mês y ddaear bwdr,
Heb feddwl unwaith am y Rhoddwr.

---

## PEN. XVI.—*Am y Dwfr.*

WEDI son ychydig am un elfen, sef yr awyr, mi a soniaf ychydig etto am elfen arall, sef y dwfr, a hyny er mwyn gosod allan allu, doethineb, a daioni Duw yn ei greaduriaid.

### 1. *Am Angenrheidrwydd Dwfr.*

Y mae dwfr yn elfen angenrheidiol iawn: heb ddwfr nis gallai ddyn, na nemmawr o greaduriaid fyw; na chwaith goed a llysiau, fyw na thyfu. Heb ddwfr ni byddai na diod, na dim i'w yfed, na bwyd i'w fwyta, na chwaith fawr o lendid. Ac O mor llawn yw'r byd o'r elfen angenrheidiol hon, yn enwedigol, ein gwledydd ni! Y mae'r dwfr fel goleuni, fel y gall pawb ei gael yn mhob man, yn rhodd ac yn rhad, ac yn ddibrinder.

Rhoes Duw hael, i drafaelwr,
Yn rhydd oleu'r dydd, a'r dw'r

### 2. *Nad yw rhai Coed, a llawer o Lysiau nemmawr ond Dwfr.*

Cymmerodd un 200 pwys o bridd, ac a'i sychodd mewn ffwrn, ac a'i gosododd mewn llestr, yna efe a dywalltodd wlâw a dwfr arno, ac a blannodd ynddo

Helygen fechan o 5 pwys; yn mhen 5 mlynedd, hi bwysodd 196 pwys, heb son am y dail a syrthiodd mewn pedwar Hydref; ac wedi iddo sychu'r pridd drachefn a'i bwyso, nid oedd uwchlaw dwy owns yn llai; ac ni ddodasai ddim arno yn y cyfamser, ond ychydig wlaw a dwfr. Llawer o brofiadau o'r fath hyn, sydd gan Mr. Boyl, ac eraill. Y mae llawer o goed yn tyfu mewn creigydd, ac ar gerrig, lle nad oes dim, agos, ond dwfr ac awyr i'w mhaethu. Fe ellir troi dwfr mewn rhyw fesur yn bridd, ac am hyny mae yn debygol fod amryw fath o bridd neu sylwedd ynddo, gan fod amryw goed a llysiau, o amryw rinweddau, a naturiaethau, yn cael eu gwneuthur a'u mhaethu o hono.

### 3. *Fod nid yn unig Goed a Llysiau, eithr hefyd Fwyn, a cherrig, a chreaduriaid byw mewn cryn fesur yn dyfod o Ddwfr.*

Y mae'r creaduriaid byw yn llawn gwlybwr, ac hefyd yn cael eu mhaethu â phethau nad ydynt nemmawr ond dwfr. Y mae daear neu bridd, fel y clywsoch o'r blaen, yn dyfod o ddwfr. Ac fe dyn y *Magnet*, meddant, Haiarn o ludw llysiau, y rhai nad ydynt fawr ond dwfr! O, gan hyny mor rhyfeddol yw'r dwfr! Pwy a all ddwedyd ei fod yn ei adnabod yn iawn.

### 4. *Fod y Dwfr yn dyrchafu i'r awyr mewn modd rhyfeddol.*

Y mae'r dwfr yn drymach na'r awyr, ac etto pe na b'ai'r dwfr yn cael ei godi i fynu, byddai i bob peth drengu; ac am hyny, y mae'r Creawdwr wedi cymhwyso ffordd iddo gael ei ddwyn i fynu yn dra rhyfeddol. Y mae'r deddfau hyn i'r dwfr: 1, Y peth a fyddo yn drymach, na chymmaint âg ef o ddwfr, a ddisgyn ac a sodda. 2, Y peth a fyddo yn ysgafnach na chymmaint âg ef o ddwfr, a esgyn ac a nofia. 3, Y peth a f'o yn gydbwys â chymmaint ag ef o ddwfr, a saif mewn dwfr, ac a nofia yn y man lle y rhoddir ef. Yn awr y mae'r dwfr yn dyrchafu i'r awyr yn ol y deddfau

hyn. Y mae'r dwfr gan wres yn cael ei droi yn darth, ac yn blédreni bach ysgafnach na'r awyr, ac felly yn dyrchafu i fynu, nes delont yn gydbwys â'r awyr, canys y mae'r awyr yn ysgafnach i fynu nag i waered, ac weithiau'n ysgafnach na phrydiau eraill. Y mae natur y tân hefyd yn glynu wrth y dwfr, a chyd âg ef yn ei ddwyn i fynu, fel corcyn yn dwyn haiarn i wyneb y dwfr. Dyma rai o'r ffyrdd y mae dwfr yn dyrchafu i'r awyr: Rhoddwch arian byw a dwfr mewn llestr gwydr, ac fe â'r arian byw yn isaf a'r dwfr yn uchaf: yna bwriwch ddernyn o haiarn i mewn, a chwi a gewch weled y sudda efe yn y dwfr, ac y saif ar wyneb yr arian byw. O herwydd achosion cyffelyb i'r rhai hyn, y mae y cymylau yn nofio yn yr awyr.

## 5. *Am y Dwfr yn Darth yn yr awyr.*

Y mae'r dwfr fel y clywch yn dyrchafu yn darth i'r awyr, ac y mae y mynyddoedd yn casglu llawer o darth y'nghyd, ar ba rai y mae tarth fynychaf ddydd a nos; ac yr ydys yn tybied, mai tarth yn disgyn yn wlith ar fynyddoedd, yw yr achos penaf o ffynhonau ac afonydd. A hyn etto sy'n dra hynod, fod y tarth sydd yn dyrchafu yn benaf o'r moroedd yn cael ei godi i fynu yn ddwfr pur, heb ei halen, er mwyn daioni'r ddaear a'i thrigolion; a'r halen eilwaith yn cael sefyll yn ol er defnyddiau ac achosion eraill. Hynod etto, gan fod cynnifer rhyw o halen yn ysgafnach na'r dwfr, fod halen y môr yn drymach. Y mae ffordd i dynu halen o lysiau, ac amryw bethau eraill. Y mae amryw achosion fod y tarth yn dyrchafu ac yn tynu at y mynyddoedd, megis gwynt, cysgod yr haul, ac oerfel. Yr ydym yn darllen am gwm ar fynydd mawr yn *Bohemia* ag sydd yn cadw eira weithau dros 16 mlynedd ynghyd, mae yr hen eira yn wastad yn ymddangos yn felynach na'r newydd. Y mae'r tarth sydd yn yr awyr, yn ddigon a thros ben i borthi yr afonydd, canys y mae rhagor o ddwfr yn wastad yn yr awyr nag y sydd yn dyfod i lawr yn wlaw.

## 6. *Am Ddwfr Gwlaw.*

Y mae ganddynt ffordd i wybod, pa faint y mae'n ei wlawio mewn blwyddyn; sef trwy osod llestr i'w dderbyn, o hyn a hyn o led; a lle eilwaith iddo redeg i lestr arall, lle na chaffo dreulio a sychu, trwy godi i fynu yn darth, ac wedi hyn y maent yn ei fesur. Ac wedi dyfod i wybod pa faint sy'n disgyn ar latheu, gallant yn hawdd wybod pa faint sy'n disgyn ar filldir. Yn y modd hyn y cymharant wlaw un wlad a'r llall. ac hefyd un flwyddyn a'r llall. Yr ydys yn meddwl fod gwlaw un flwyddyn gyda'r llall, o'n gwledydd ni yn dyfod i 20 modfedd o ddyfnder, pe bai'n sefyll ar wyneb y ddaear; yr hyn sy'n ddigon, heblaw dyfrhau yr ddaear a'i thrigolion, i gynnal yr afonydd mewn maint cymhesur. Y mae Mr. Keil, yn dywedyd, fod yr holl afonydd yn ddigon i lenwi yr moroedd, pe baent sych mewn 812 mlynedd.

## 7. *Am waith y Dwfr yn Treulio ac yn Sychu, trwy godi i fynu yn Darth.*

Y mae'r dwfr weithiau, ar dywydd gwresog, sych, yn treulio ac yn gostwng modfedd y dydd, a rhagor; ond os bydd i ni gyfrif ond haner modfedd, un dydd ac un tymmor gyda'r llall, yr hyn nid yw'n ormod, a bod hyny yn disgyn yn wlaw, ac yn sefyll ar wyneb y ddaear, fe fydd mewn blwyddyn, yn 182 modfedd o ddyfnder. Yn awr profiad sydd yn dywedyd, nad yw gwlaw un flwyddyn, ond 20 modfedd, ac am hyny y mae yn amlwg, fod y tarth yn llawer mwy na'r gwlaw, a'i fod yn myned at ryw achosion a defnyddiau eraill. Y mae Mr. De la Hire yn dywedyd ac yn profi, fod coed a llysiau'r ddaear, yn gofyn mwy o ddwfr na'r holl wlaw.

## 8. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr pa beth a ddywedwn am yr holl bethau hyn? Onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos ynddynt? Cymmaint o ddyfroedd yn cael eu codi i fynu, o'r ddaear, a'r afonydd, a'r moroedd

yn darth i'r awyr; ac wedi hyn yn cael eu dwyn oddi amgylch mewn cymyleu, ac eilwaith yn dyfod i lawr yn wlith, yn wlaw, yn eira, ac yn gessair, i ffrwythloni ac i leshau y ddaear a'i thrigolion; ac hefyd i wneuthur ffynhonau, ffrydiau, ac afonydd, i fod er cynnifer rhyw o ddefnyddiau a gwasanaeth i ddyn ac anifail; ac ar ol hyny i ddychwelyd i'r moroedd, fel y b'o iddynt drachefn gael eu codi i fynu oddi yno yn darth i'r awyr; ac fel hyn yn troi oddi amgylch yn wastadol dros gynnifer o oesoedd, er gwasanaeth a daioni yr holl fyd. (Ps. 107. 31.) O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.

## 9. *Am Halen yr Awyr.*

Er fod dwfr y mor, wrth godi i fynu yn darth i'r awyr, yn gadael ei halen yn ol, gan y byddai iddo wneuthur y dwfr yn niweidiol, i'r rhan fwyaf o ffrwythau'r ddaear, ac hefyd yn afles ol ac yn annghymwys i ddisychedu bywiolion; etto y mae llawer o ryw fath o halen yn yr awyr yn ymgymysgu â'r dwfr, megis *Nitr*, neu *Salt Petre*, neu ryw beth cyffelyb; yr hyn sy'n fawr yn ffrwythloni yr ddaear, ac yn rhyfedd ei rinwedd i ddisychedu bywiolion.

## 10. *Am* Nilus, *Afon yr Aipht.*

Y mae gwlad yr Aipht yn wlad wastad, sych, heb fawr o wlaw, ac am hyny a fyddai yn wlad ddiffrwyth, oni b'ai fod yr afon Nilus yn llifo dros fis, a rhagor bob blwyddyn yn yr haf, ac yn dyfrhau'r holl wlad. Y mae hi o ddeutu 40 niwrnod yn llifo, a chyhyd a hyny yn treio. Os llifa, ac os cyfoda hi rhy fychan, neu ormod, bydd yn argoel o flwyddyn ddrwg. Y mae ei chodiad yn gymhedrol, os bydd rhwng 12 a 18 cufydd. Y mae'r tai yn sefyll ar ychydig godiad tir, fel y byddant ar amser y llifeiriant, yn ymddangos fel cynnifer o ynysoedd. Y mae'r dwfr yn gadael llaid bras ar ei ol, ag sydd yn ffrwythloni'r tir yn rhyfeddol, fel y gallant gael dau gynhauaf, neu ragor, yn y flwyddyn,

gan fod y wlad hefyd mor wresog. Y mae eu defaid yn bwrw ŵyn, ddwy waith yn y flwyddyn; a'r gwragedd, medd rhai Awdwyr, yn fynych, yn dwyn gefeilliaid, o'r hyn lleiaf, yn fynychach na chyda ni. Y mae yr afon yn dyfod oddi wrth fynyddoedd uchel yn Affrica, a elwir mynyddoedd y Lleuad; ac yn llifo o achos fod y gwlaw a'r eira yn toddi gyda gwres y flwyddyn, ac yn rhedeg rai miloedd o filltiroedd. Y mae dwfr yr afon hon yn cynnwys llawer iawn o *Salt Petre,* yr hyn sydd yn gwneuthur y tir mor ffrwythlon. Yn awr a oes dim Rhagluniaeth, yn ymddangos yma, lle mae cynnifer o bethau yn cyd-gyfarfod, i wneuthur gwlad ag oedd yn debyg i fod yn ddiffrwyth, yn un o'r rhai ffrwythlonaf yn y byd? Ystyriwn gynnifer o bethau sy'n cyd-gyfarfod. 1, Y mae yn rhaid cael dwfr, a hwnw o bell. 2, O herwydd hyny, y mae yn rhaid i'r wlad hon fod yn îs na gwledydd eraill. 3, Rhaid i rai manau yn y wlad fod yn uchel, i achub y trigolion yn amser llifeiriant. 4, Rhaid bod cymmaint o ddwfr a llif ag a foddo, ac a guddio'r wlad. 5, Rhaid i'r dwfr sefyll cyd ar wyneb y tir, ag y gadawo ei laid a'i ffrwyth ar ei ol. 6, Fel y paro'r dwfr y fath ffrwythlondeb rhyfeddol, rhaid bod ynddo ddigon, ac nid gormod o *Salt Petre*. 7, Rhaid i'r llifeiriant eilwaith, ddarfod, a'r tir sychu, fel y gallo fod yn ffrwythlon. Hyn, a llawer yn rhagor o bethau sydd yn cyd-gyfarfod yma trwy ragluniaeth Duw. Y mae rhai afonydd eraill fel hyn hefyd; megis *Indus, Ganges, Niger*; a rhai gwledydd hefyd; megis Peru, ac eraill, heb fawr o wlaw. Y mae'r Ysgrythyr yn son nad oes gwlaw yn yr Aipht, Deut. 11. 10, 11. Zech. 14. 18.

## 11. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn, a'r hyn a aeth o'r blaen.*

Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw, yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? Pa gynnifer o bethau sydd wedi eu trefnu i gyd-gyfarfod, gogyfer a dyfrhau'r ddaear, er daioni a gwasanaeth ei thrigolion? Moroedd, mynyddoedd, awyr, tarth, gwynt a haul.

Pe na b'ai'r moroedd yn ddigon llydain, a'r mynyddoedd yn ddigon uchel, a'r awyr yn dewach ac yn drommach i waered nag i fynu, o herwydd ei *spring*, a'r tarth yn ddigon ysgafn, a'r gwynt yn ddigon cryf i'w ddwyn oddi amgylch yn yr awyr, na'r haul yn ddigon cref, ac hefyd heb fod yn rhy bell nag yn rhy agos; ni byddai i'r ddaear gael ei dyfrhau, na'i thrigolion eu cynnal.

## 12. *Am Gyflead a Halltrwydd y Moroedd.*

Gan fod cynnifer o afonydd mawr yn y byd, a'r rhai hyn yn rhedeg er ys cynnifer o oesoedd, y mae yn gofyn bod dyfnderoedd mawr i'w dderbyn, fel na byddo iddynt orlenwi; ac i'r dyben hyny, y mae'r moroedd wedi eu cyfleu yn drefnus i'w derbyn, dros wyneb yr holl ddaear. Ac eilwaith, fel na byddo i'r moroedd lygru, a myned yn gynnifer o lyniau drewllyd, i wenwyno'r byd â'u tawch afiach, y mae dwfr y moroedd yn llawn o halen, yr hyn hefyd sydd i raddau mawr, yn eu cadw rhag rhewi, fel y gallo'r llongau nofio arnynt yn wastadol. Nid oes un rheswm, yn iawn i'w roddi, ond rhagluniaeth yr Arglwydd, pa ham y mae cymmaint o halen yn nyfroedd y môr, ac nid mewn dyfroedd eraill, gan fod gwythienau mawr o halen yn y ddaear mewn amryw wledydd.

## 13. *Am ddefnyddiau a gwasanaeth y moroedd.*

Y mae'r môr yn fawr er gwasanaeth y byd: Pwy all gyfrif ei gymmwynasau? Y mae yn amgylchu'r ddaear, er mwyn ei dyfrhau; ac yn llawn porthladdoedd, i dderbyn yr afonydd. Y mae yn gwasanaethu yn rhyfeddol i ddwyn llestri, dynion a marsiandiaeth. Y mae yn gwasanaethu yn hynod i fagu, ac i gynnal miloedd a myrddiynau o fywiolion, y rhai sydd er gwasanaeth y byd. Y cymmwynasau hyn, y'nghyd â miloedd o gymmwynasau eraill, na soniaf yn awr am danynt, gan i mi son am lawer o honynt o'r blaen, y mae'r môr yn eu gwneuthur.

## 14. *Am y Tywod yn derfyn i'r Môr.*

Onid yw yn beth rhyfeddol, fod y tywod mân, yr hwn a ellir ei chwythu, a'i ddwyn ymaith gan wynt a dwfr, yn gallu attal ymchwydd a rhuad y môr, ie, pan y byddo ei donau yn ymgynddeiriogi gan wyntoedd, a themhestloedd? Hefyd nid yw'r tywod ond peth a wneir gan y môr, ac felly y mae'r môr yn troi yn ffrwyn iddo ei hun. Eilwaith, y mae tywod, er mor anhebyg, yn dwyn math o hesg, i fod yn furydd iddo. Y mae'r peth mor ryfedd, fel y mae Duw ei hun yn son am dano, i argyhoeddi, ac i ddeffroi dynion o'u dallineb, eu hanneallgarwch, a'u hanystyriaeth. (Jer. 5. 21, 22.) Gwrando hyn yn awr, ti bobl ynfyd, ac heb ddeall; y rhai y mae llygaid iddynt, ac ni welant; a chlustiau iddynt, ac ni chlywant. Onid ofnwch chwi fi; medd yr Arglwydd? Oni chrynwch rhag fy mron, yr hwn a osodais y tywod yn derfyn i'r môr, trwy ddeddf dragywyddol, fel nad elo dros hwnw; er i'r tonau ymgyrchu, etto ni thyccia iddynt; er iddynt derfysgu, etto ni ddeuant dros hwnw?

## 15. *Am waith y Môr yn Llenwi a Threio.*

Y mae gwaith y môr yn lleuwi a threio, yn beth tra rhyfeddol, ac yn beth tra buddiol. Y mae yn dwyn llongau i dir, ie yn fynych, i ganol gwlad, ac yn dyfod i'w hol a'u dwyn allan drachefn: y mae yn dilyn tro'r lleuad, yn benaf, er bod gan yr haul a'r lleuad effaith fawr arno, o herwydd eu sugn; y mae yn codi i fynu yn ddau fynydd mawr, tan, a chyferbyn â'r lleuad, ac felly gyda hi yn troi oddi amgylch yn wastadol. Pan fyddo'r lleuad uwch ben, y mae yn ei sugno y'nghyd, ac yn ei chwyddo, ac yn ei dynu i fynu; ond fel y byddo hi yn ymadael, bydd y sugn yn darfod, a'r dyfroedd yn ymdaenu. Pan y byddo sugn yr haul a'r lleuad yr un ffordd, bydd y llanw yn fawr; ond pan y byddont yn groes i'w gilydd, bydd y llanw yn fychan.

## 16. *Am Ddyfroedd ac Afonydd rhyfedd.*

Y mae dyfroedd rhyfedd o amryw fath yn y byd; megis y rhai a droant goed yn gerrig, a rhai a laddant anifeiliaid, a rhai tra meddyginiaethol. Y mae ffynhonau yn llenwi ac yn treio fel y môr. Y mae dyfroedd mor boethion, ag y gellir berwi ynddynt, Yn Mhersia, y mae ffynon o olew du, yr hwn sydd yn gwasanaethu yr holl wlad, i ennyn yn eu tai, ac yn cael ei ddwyn oddi amgylch ar asynod, bydd 3, neu 4 cant, o honynt, yn fynych, y'nghyd. Nid yw hyn ddim rhyfeddach na ffynon yr halen, yn Sir Caerwrangon: nac yn agos mor ryfedd a natur ein calch ni, yr hwn sydd yn myned yn dân gwyllt wrth fwrw dwfr arno: Ond nid rhyfedd dim cynnefin. Gerllaw Babilon, y mae dyffryn, yn mha un y mae amryw ffynhonau yn berwi i fynu yn wastadol, gyda mawr swn a glywir dros filltir o ffordd, beth tebyg i bŷg a thar, yr hwn sydd i'r trigolion er amryw ddefnyddiau a gwasanaeth: geilw rhai y lle, Genau Uffern, Tebyg i'r rhai hyn yw môr Sodom, yr hwn a elwir hefyd, y Môr Marw; yr hwn sydd mor afiach, nad all un pysgodyn fyw ynddo, nac aderyn, yn iawn, ehedeg drosto, er bod afon yr Iorddonen yn rhedeg iddo yn wastadol. Y mae dwfr Caerbaddon, yn ein gwlad ein hunain, yn tarddu allan o'r ddaear yn dra thwym. Yr achos o hyn, fel y tybir, yw, o herwydd ei fod yn rhedeg ac yn dyfod trwy fwyn haiarn a brwmstan, y rhai sydd â rhinwedd ynddynt y'nghyd i boethi'r dwfr.

## 17. *Casgliad oddi wrth y cwbl y'nghylch y Dwfr.*

Yn awr pa beth a ddywedwn? Onid yw gallu, doethineb a daioni Duw, yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? Pa mor angenrheidiol yw'r dwfr; ac etto pa mor llawn; mor wastadol, ac mor barhaus ydyw? Onid yw yn rhyfedd fod y dwfr sy'n cael ei droi a'i daflu gan gynnifer o bethau, gynnifer o ffyrdd, dros gynnifer miloedd o flynyddoedd, etto heb ddarfod, heb dreulio, heb fethu, ac heb sychu? Onid yw yn rhyfedd fod

cynnifer rhyw o ddyfroedd, at gynnifer rhyw o ddefnyddiau, yn magu cynnifer rhyw o greaduriaid, er cynnifer rhyw wasanaeth, i gynnifer o ddynion anniolchgar, dros gynnifer oesoedd? A all yr holl bethau hyn i gyd, fod o ddamwain? Onid ydynt yn hytrach yn dangos rhagluniaeth, trefn, a llywodraeth yr Arglwydd, a'n dyled ninau.

## PEN. XVII.

### *Am y Ddaear a'r Pridd.*

WEDI son ychydig am yr awyr a'r dwfr, mi soniaf ychydig etto am y drydedd elfen, sef y ddaear a'r pridd, gan fod gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yma, fel o'r blaen.

### 1. *Fod y Ddaear er cynhaliaeth Dyn ac anifail.*

Y mae yn amlwg nas gall y ddaear, fel y mae yn bridd, na phorthi na chynnal dyn nac anifail; ac etto, y mae pob un o honynt trwy ragluniaeth a daioni Duw, yn cael eu cynnal ganddi. Y mae'r ddaear yn dwyn ŷd, a'r ŷd yn gwneuthur bara, a'r bara yn cynnal bywyd dyn. Y mae'r ddaear, eilwaith, yn dwyn gwellt, a'r gwellt yn porthi yr anifail, a'r anifail yn porthi dyn. Nid yw yr anifeiliaid ond megis cynnifer o geginau, lle mae gwellt y ddaear yn cael ei drin, a'i wneuthur yn fwyd i ddyn. Nid yw dillad gwychion, yn mha rai yr ymfalchia rhai dynion, megis llieiniau teg, a gwlan, a sidan, ond naill ai gwellt y ddaear, neu hen ddillad creaduriaid eraill.

### 2. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr onid yw rhagluniaeth Duw yn ymddangos yma, gan na all un dyn beri i gymmaint ag yden, na blewyn dyfu, na dywedyd yn iawn, pa fodd y maent yn tyfu? Ac hefyd, beth yw'r achos, fod y gwellt yn porthi yr anifail, ac na phortha ddyn, nes iddo gael yn

gyntaf, ei droi yn llaeth, neu yn gnawd yn yr anifail? Onid oes pethau yma, wedi eu cyfaddasu yn rhyfedd i'w gilydd? A all neb ddywedyd fod y pethau hyn o ddamwain, mwy na bod yr allwedd a'r clo, wedi eu cymhwyso a'u cyfaddasu i'w gilydd, o ddamwain, o'r un haiarn? Pa fodd y mae'r ddaear yn dwyn gwellt i'r anifail, yn mhob man o honi ei hun; eithr ŷd i ddyn trwy lawer o lafurio, aredig, hau, a llyfnu, a chwynu, a llawer o ymboeni? Onid yw hyn o herwydd gair Duw yn y dechreuad, (Gen. 3. 19.) Trwy chwys dy wyneb y bwytai fara? Ac hefyd, o herwydd y medr, ac gall dyn drin y ddaear, ond nas medr, ac nas gall yr anifail?

### 3. *Fod yr un Pridd yn dwyn llawer o bethau.*

Onid yw yn rhyfedd fod yr un pridd yn ein golwg ni, yn dwyn cynnifer rhyw o bethau? Cynnifer rhyw o wellt a gwair? Cynnifer rhyw o ŷd? Cynnifer rhyw o goed, yn dwyn cynnifer rhyw o ffrwythau? Cynnifer rhyw o lysiau, o gynnifer rhyw o rinweddau, a chynnifer o honynt yn wrthwyneb i'w gilydd? Cynnifer rhyw o flodau, o gynnifer rhyw o liwiau, a chynnifer o aroglau! Cynnifer rhyw o greaduriaid, yn gofyn cynnifer rhyw o bethau; megis un yn gofyn gwenwyn, a'r llall yn gofyn mel, a'r llall yn gofyn sidan, ac eraill yn gofyn pethau eraill? Cynnifer rhyw o wythienau, o gynifer rhyw o rinweddau a defnyddiau? Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn yr holl bethau hyn? Onid gogoneddus yw'r hwn sy'n dwyn cynnifer rhyw o bethau o dwmpath o bridd, ag sydd mor anhebyg i ddwyn un o honynt? Onid anhebyg, o bentwr o bridd, yw cael rhosyn *Tulip,* a lili; a'r rhai hyn o gynnifer o liwiau, a chynnifer o aroglau, a chynnifer o rinweddau? Oni allwn ni lefain gyda'r Seraphiaid, yn Esay 6. 3. a dywedyd, Sanct, Sanct, Sanct, yw Arglwydd y Lluoedd; yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef?

### 4. *Nad yw'r ddaear yn gwbl yn methu ac yn anffrwythlon.*

Er cymmaint o bethau y mae'r ddaear yn eu dwyn, gogyfer a chynnal cynnifer rhyw o greaduriaid; megis cynnifer o ddynion, cynnifer o anifeiliaid, cynnifer o ehediaid, a chynnifer o ymlusgiaid, dros gynnifer o oesoedd; etto, nid yw yn gwbl yn methu, ac yn anffrwythloni, ond y mae yn amlwg fod hyn trwy ddoeth ragluniaeth Duw, gan fod tir yn ebrwydd yn methu i ddwyn ŷd, a hauir yn fynych. Y mae tir methedig, trwy ei franaru, a throi wyneb a chefn i fod yn agored i'r awyr, yn dyfod mewn graddau helaeth, i fod yn fwy ffrwythlon, er na chaffo ddim achles arall; ond pa un ai bod hyn yn benaf yn bod trwy rinwedd y gwlith a'r gwlaw, neu nitr a halen yr awyr, neu ryw beth arall, neu ynteu y cwbl y' nghyd, nis gwyddys yn dda. Y mae'n beth rhyfedd, fod tom, a budreddi'r byd, yn nghyd â llygredigaeth pob peth, yn troi i fod yn achles i'r ddaear, ac felly i gynnal ei ffrwythlondeb.

### 5. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr y mae rhagluniaeth Duw yn ymddangos yma yn amlwg; 1, Gan fod yr awyr, a'r gwlaw, a rhinwedd ynddynt i ffrwythloni 'r ddaear. 2, Gan fod hyn yn cael ei wneuthur heb gyngor na help dyn. 3, Gan fod lleoedd a'nghyfanedd y ddaear, trwy hyn yn cael eu ffrwythloni, er cynhaliaeth yr anifeiliaid gwylltion. Etto gwelwn, mai rhagluniaeth Duw, ydyw fod y ddaear yn troi yn domen. Ystyriwn, 1, nad yw coed a llysiau, ïe, dynion ac anifeiliaid, o ran eu cyrph, ond daear, ac yn cael eu porthi â'r ddaear, ac â phethau daearol. 2, Nad ydyw pob peth daearol, ond marwol a llygredig. Pob peth wedi iddo wasanaethu diben ei greadigaeth, sydd yn cael ei droi yn llygredigaeth. 3, Fod ymborth pob creadur byw, yn cael ei droi yn dom ynddo, ac felly eilwaith, ei arllwys allan. 4, Pe buasai'r cwbl ag a drowyd yn dom er y dechreuad, gan ddynion ac anifeiliaid, ac yn mhob ffordd arall, yn gorwedd byth ar wyneb y ddaear, diamau y buasai yn

domen fudr, ac aflan. 5, Gan fod cynnifer o fyrddiynau o ddynion ac anifeiliaid wedi bod yn y byd, a'r ddaear wedi rhoi ei ffrwyth mewn cynnifer o ffyrdd, dros gynnifer o oesoedd, gallasai fod yn awr wedi methu, a myned yn ddiffrwyth. Ond, yn 6, I ragflaenu y naill a'r llall, y mae pob peth yn troi oddi amgylch. Y mae'r dom yn troi yn achles ac yn ddaear, a llygredigaeth un peth yn troi i fod yn fywioliaeth peth arall. Onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yma, fel yr haul ganol dydd?

### 6. *Fod y Ddaear yn dwyn pob peth angenrheidiol.*

Y mae amryw fath o bridd neu ddaear, ac amryw fath o bethau ynddi. Y mae amryw fath o gerrig gwerthfawr, perlau, a gemau, y rhai sydd o amryw rinweddau a defnyddiau. Y mae pridd ffrwythlon ac anffrwythlon, Y mae'r ddaear mewn llawer o ffyrdd yn cael ei ffrwythloni. Y mae'r ddaear wrth gael ei thrin a'i gwrteithio, yn dwyn allan ymborth i ddyn ac anifail. Y mae yn y ddaear lawer o bethau ag sydd yn angenrheidiol at fywyd, at iechyd, at farsiandiaeth, ac at lafuriaeth. Y mae ynddi amryw fath o fwyn, ac amryw fath o gerrig, ac amryw fath o bridd, ac amryw fath o goed a llysiau, ac amryw fath o ddwfr; ond ar ol ac o flaen y cwbl, y mae ynddi amryw fath o danwydd, heb yr hyn, ni byddai'r lleill ond anfuddiol.

### 7. *Fod y Ddaear yn gron, a phwys pob peth tua'i chanol.*

Pwy a debygai, wrth edrych ar y ddaear, ei bod hi yn gron? Pwy a debygai fod trigolion yr wyneb arall iddi, a'u traed attom ni? Oni thebygai un y byddai pob peth yr wyneb arall iddi, yn cwympo tua'r awyr? a phe b'ai dwll ynddi, y byddai i garreg syrthio trwyddi i lawr, ac i'r wyneb arall allan? Ond nid felly y byddai, eithr byddai i'r garreg ddyfod i fynu i'r canol; canys y mae pob peth, o ddeutu'r ddaear yn mhob lle, yn pwyso tua'r canol Cafodd un gwr gynt ei ysgymuno yn

eglwys Rhufain, am haeru'r peth, yr hyn sydd yn awr yn hyspys i bawb. Och fi, pa fodd y camgymmerodd y Pab, ac eglwys Rhufain felly! Yr ydys yn awr yn trafaelu o ddeutu'r ddaear, yr hon sydd o ddeutu 24 mil o filldiroedd, 24 miliwn o basis, ac 48 miliwn o gamau. Byd neu gorph mawr, ac etto ond bychan at gyrph neu fydoedd eraill y sydd. Y mae bod pwys pob peth tua chanol y ddaear, fel y clywch, yn ei chadw y'nghyd; ac etto nid yw canol y ddaear ddim, fel y dywed Job 26. 7. Y mae efe yn crogi y ddaear ar ddiddim. Pa fath beth rhyfeddol gan hyny, ac etto pa fath beth angenrheidiol, yw'r pwys a'r sugn sydd yn y ddaear? Nid oes neb yn deall ei achos naturiol, ond ei fod yn ddeddf a osodwyd gan Dduw yn mhob defnydd yn y dechreuad; neu yn hytrach, ei fod ef yn beth a wneir gan Dduw, neu Yspryd dano ef yn wastadol. Ni phwysai un peth ddim y'nghanol y ddaear, canys y mae'r sugn yn gymmaint yn mhob ffordd. Y mae pob peth â'i bwys yn fawr ar wyneb y ddaear, ond fel yr elir i fynu, y mae'r pwys yn darfod. Y peth mwyaf ei ddefnydd yn wastad, yw'r peth mwyaf ei bwys, ac nid y peth mwyaf ei faint, os bydd yr un bellder oddi wrth ganol y ddaear. Tunell ar wyneb y ddaear, os codir 4 mil o filltiroedd, ni bydd ond chwarter; os codir 8 mil, ni bydd ond y nawfed ran; ac os codir 12 mil, ni bydd ond chwarter chwarter.

## 8. *Am Osgo neu* Oblignity *y Ddaear.*

Y mae yn beth tra rhyfeddol, ac hefyd yn beth doeth iawn, ac angenrheidiol, fod y ddaear yn wastadol yn cadw yr un osgo, sef ei dau begwn yr un ffordd, heb fyned oll allan o'i lle, gan fod cynnifer o bethau ag a allai ei hanghymhwyso; megis rhuad a therfysg y moroedd ac hefyd eu gwaith yn cilio mewn amser o un man i'r llall, ac felly yn peri i'r ddaear golli ei chydbwysiad: ac hefyd yr ydys yn tybied, fod cyfundeb rhwng mynyddoedd tanllyd â'u gilydd; trwy fod ffrydiau a heolydd tanllyd, yn rhedeg oddi wrth y naill at y llall, trwy ganol y ddaear, yr hyn sy'n fynych yn gwneuthur daear-grynfâau, ac felly y ddaear yn fynych

yn cael ei gwaghau mewn manau, ac felly yn colli ei chydbwysiad, yr hyn a allai beri iddi anghymmwyso. Y mae pethau eraill hefyd, a allai beri iddi anghymmwyso, ond yn enwedigol ei throion. Pe byddai yn anghymmwyso o herwydd un rhyw beth, ni byddai dim ond dinystr i'w ddysgwyl. Pe byddai i'r gwledydd oerion fyned tan yr haul, ac i'r gwledydd poethion fyned tan y Gogledd a'r Dehau, darfyddai am ffrwyth y ddaear a'i thrigolion. Y mae yn beth tra doeth fod osgo gan y ddaear, sef nad yw ei phegynau yr un ffordd a phegynau ei chylch o ddeutu yr haul, yr hyn yw yr achos o Haf a Gauaf. Onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn yr holl bethau hyn?

## 9. *Am fod y Tir yn uwch na'r Dwfr.*

Y mae yn beth rhyfedd fod y tir yn uwch na'r dwfr, gan fod pridd yn drymach na dwfr, ac i fyn'd wrth hyny yn isaf. Pa fodd na b'ai 'r moroedd yn chwalu wyneb y ddaear yn dywod, ac wedi hyny y tywod wrth ei bwys, yn myn'd yn isaf, a thrwy hyny, y moroedd yn dyfod i orchuddio y ddaear? Hyn a fyddai, oni b'ai rhagluniaeth fawr yr Arglwydd. (Job 38. 11.) Hyd yma y deui, ac nid ym mhellach; ac yma yr attelir ymchwydd dy dônau di.

## 10. *Am Ranau'r Ddaear* (Zones.)

Y mae'r ddaear o ran ei hwyneb, ac hefyd o ran goleuni a gwres yr haul, yn cael ei dosparthu yn bum' rhan; sef un rhan boeth, tan yr haul; dwy ran dymherus; a dwy ran rewlyd, tan y Gogledd, a'r Dehau. Y rhai sydd yn byw tan linyn y cyhydedd, sydd a'r dydd a'r nos yn cael eu cyfrif bob amser, yr un hyd, o haul i haul. Y mae eu cysgodau un amser tua'r Gogledd, amser arall tua'r Dehau, ac amser arall y maent heb yr un. Nid oes neb yn byw tan y Gogledd a'r Dehau, nac yn gallu myned yn agos attynt. Y mae yno haner blwyddyn o ddydd, a haner blwyddyn o nos.

Y mae dau le rhyfedd hynod,
Ar wyneb y ddaear isod,
Lle nad oes mewn blwyddyn faith,
Ond noswaith a diwarnod.

Y mae Mr. Kircher, yn dywedyd, fod y môr yn rhedeg fel ffrwd gref tua phegwn y Gogledd, yn gymmaint a darfod i rai ag a aeth yn rhy bell, gael eu dwyn ymmaith, llongau a llestri, y dynion a'r cwbl, fel na welwyd mo honynt byth mwyach. Ac eilwaith, yn y gwrthwyneb, fod y môr yn dyfod yn ein herbyn oddi wrth begwn y Deheu, a hyny gyda'r fath ffrwd a nerth, fel na's gellir na morio na rhwyfo yn ei erbyn. Gan nad pa un ai bod hyn yn bod ai peidio, y mae llawer o bethau eraill yn tori ymaith bob gobaith o fynd byth at ddau begwn byd, megis mynyddoedd mawr o ia, y rhai sydd yno, wrth bob tebygoliaeth, er dechreuad y byd; ac hefyd oerfel annioddefol, oddieithr ychydig amser ganol yr Haf, a'r moroedd eilwaith yn rhewi yn ddisymwth, a'r cyffelyb bethau.

## 11. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn yn nghylch y Ddaear.*

Onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn ngwneuthuriad a threfniad y ddaear? Pa gynnifer o bethau sydd yn cydgyfarfod? 1, Y mae'r ddaear yn lle cymmwys i ddyn ac anifail fyw. 2, Y mae yn dwyn pob peth angenrheidiol at fywyd a chynhaliaeth. 3, Y mae yn fawr a maith, yn cynnwys lle i lawer rhyw o greaduriaid. 4, Y mae yn cynnwys tir a dwfr, a moroedd er llawer rhyw o ddefnyddiau. 5, Y mae yn gron, am mai dyna'r llun goreu iddi ar lawer cyfrif. 6, Y mae gwedi ei chymhwyso at yr haul, yn y modd gorau. 7, Y mae yn troi o ddeutu yn wastad, yn ol barn y dysgedigion yn awr, er mwyn gwneuthur dydd a nos, haf a gauaf. 8, Y mae yn cadw yn wastad yn ei lle, er mwyn daioni pob peth. Oni b'ai ei nerth yn troi o ddeutu'r haul, yn wastad, trwy drefniad Duw, byddai i'r haul ei sugno, a'i thynu atti yn ebrwydd. 9, Y mae'r tir er ei fod yn drymach, etto yn sefyll yn uwch na'r dwfr, ac felly nid yw'r

dyfroedd yn cael gorchuddio'r ddaear. 10, Y mae'r ddaear yn cael ei chadw y'nghyd, trwy ei sugn, neu fod pwys pob peth tu ag at ei chanol. 11, Y mae rhagluniaeth Duw yn amddiffyn ei eglwys ar y ddaear, sef dyrnaid o ŵyn, y'nghanol llyd o fleiddiaid, yn beth tra rhyfedd. Nid yw y rhai sydd yn dwyn enw Cristnogion, ond llai na 5 rhan o 25 yn y byd; y mae llawer o'r rhai hyn yn elynion i'w gilydd. Nid rhyfedd bod y bleiddiaid yn lladd yr ŵyn, ond rhyfedd iawn yw fod yr ŵyn yn lladd eu gilydd. 12. Y mae'r pethau hyn, y'nghyd â miloedd o bethau, yn dangos i ni fod Duw, a pha fath Dduw ydyw ef; sef Duw galluog, doeth, a daionus.

**Salm 145. 21.**

**Fy enaid traethed fendith rwydd,**
**A mawl yr Arglwydd nefol:**
**A phob cnawd rhoed i'w enw, y Sant,**
**Ogoniant yn dragywyddol.**

---

## PEN. XVIII.—*Am y Tân.*

WEITHIAN yr wyf yn dyfod at y pedwerydd defnydd, sef y tân. Er mai pedwar defnydd cyntaf ydys yn gyffredin yn gyfrif, sef awyr a dwfr, daear a thân, etto gall fod rhagor.

### 1. *Am Angenrheidrwydd y Tân.*

Bydded i ni ystyried y ddaear hon heb dân, ac ni a welwn yn ebrwydd pa fath le anghysurus a fyddai hi i fyw arni. Beth a fyddai y gwahaniaeth rhyngom ni a dynion deillion, Pe byddem ni y nos heb oleu a thân? Pa fodd y triniem ni y rhan fwyaf o ffrwythau y ddaear, i fod yn ymborth i ni heb dân? Pa fodd y mwynhaem ni yr anifeiliaid, ac y byddent yn ymborth i ni? Pa fodd na rewem, ac na sythem gan oerfel y gauaf, oni b'ai ei fod yn cael ei gymmedroli gan wresogrwydd y tân? Pa fodd y toddem ac y trinem ni bob math o fwyn, er amryw ddefnyddiau angenrheidiol, pe byddem heb dân? Nis gallem ni wneuthur y pethau hyn, na mil-

oedd o bethau angenrheidiol iawn, heb yr elfen neu'r defnydd hwn, sef y tân. Y mae'r tân a'r goleuni yr un peth, neu ynteu yn cyd-gerdded.

## 2. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr bydded i ddyn didduw ystyried, yn mha fath gyflwr y byddai ef a phawb eraill, yn y byd hwn heb dân; sef heb oleuni mewn tywyllwch, heb wres mewn oerfel, heb fodd i drin bwyd, ac heb allu i weithio un math o fwyn i unrhyw wasanaeth; ac ni all ef lai na chyfaddef gallu, doethineb, a daioni Duw, yn darparu y fath elfen angenrheidiol.

## 3. *Fod Natur y Tân yn beth anhyspys.*

Er cymmaint yr ymofynwyd am natur y tân, etto y mae efe yn beth anhyspys, fel y dywedodd Mr. De Stair, Nad oes dim yn amlycach na 'r tân, ac etto dim yn anhawsach ei ddeall nag ef. Fe fyn rhai, nad yw tân ddim ond unrhyw ddefnydd, wedi cael digon o gyffroad, neu wedi ei wneuthur yn ddigon mân: ond eraill a haerant gydâ mwy o reswm, fod tân fel awyr, neu ddwfr, yn ddefnydd llifiog neillduol. Y mae tân heb wres na goleu, fel dwfr heb wlybrwydd, yn mhob peth agos. Myn rhai nad yw'r awyr, ond casgliad o bob math o ronynau mân: ond nid yw eu tyb am yr awyr, fel am y tân, ond afresymol.

## 4. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr gan nad pa beth yw naur y tân, ni all neb debygu ag a f'o yn ei gof, fod y fath beth godidog ac angenrheidiol, wedi dyfod o ddamwain; ïe, y fath beth na thâl y byd ddim yn iawn hebddo. A phe b'ai o ddamwain, ni allem lai na bod yn wastad mewn dychryn, gan na wyddem pa bryd y gallai efe eilwaith o'r un ddamwain fy'nd i'w golli. Nage, y mae yn amlwg yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw, yr hwn a'i gwnaeth ac a'i trefnodd, a'n dyled ninau i'w glodfori a'i wasanaethu ef.

### 5. *Am yr Helaethrwydd o Dân sy'n y byd.*

Gan nad oes greadur yn iawn a all fyw heb dân yn y byd, fel y dangoswyd o'r blaen, ystyriwn a rhyfeddwn yr helaethrwydd sydd o hono yn mhob lle, ac yn mhob peth, ac hefyd yn ddigon hawdd i'w gael bob amser. Y mae yn llawn yn mhob coed, yn mhob llysiau, yn mhob pridd, ac yn mhob cerrig, ïe, yn mhob anifeiliaid; canys yr esgyrn a'r gwaed a losgant, ond eu sychu. Y mae'r awyr hefyd yn llawn ryfeddol o dân, oddi wrth yr haul a'r ser, a phethau eraill. Pwy debygai wrth edrych ar grug mawr o bowdwr gŵn, heb glywed am dano erioed o'r blaen, y byddai'r fath dân gwyllt ynddo i'w ennyn âg un wreichionen, ac mor anhawdd ei ddiffodd.

### 6. *Am Ragluniaeth sy'n rheoli, ac yn attal nerth yr holl Dân hwn.*

Gan fod cymmaint o dân yn mhob lle, ac yn mhob peth ar y ddaear, ac yn y ddaear, ac yn yr awyr, oddi wrth haul a ser, a phethau eraill; ïe, digon nid yn unig i wasanaethu, ond hefyd i losgi'r byd a'r cwbl sydd ynddo, a hyny mewn bŷr amser; onid yw rhagluniaeth, gallu, doethineb, a daioni Duw i'w ryfeddu, a'i ogoneddu, trwy ba rai y mae'r holl dân hwn yn cael ei lywodraethu, ei attal, a'i gadw megis yn farw yn mhob peth, er gwyllted a ffyrniced yw ei anian, ond fel y b'o yn rhaid i'r byd wrtho? Y mae hyn yn amlycach etto, os ystyriwn y modd y mae'r tarth sydd yn codi o bydewau, a ffynhonau mewn amryw fanau, yn fynych o ddamwain yn cael ei ennyu â chanwyll, ac yn difa tai a dynion yn druenus; fel hyn y byddai hi gyd â'r byd i gyd, oni b'ai rhagluniaeth yr Arglwydd. Pa gynnifer o fynyddoedd tanllyd sydd yn y byd? Ac a pha nerth y mae'r tân yn dyfod allan o honynt? Y mae mynydd Etna weithiau, yn taflu cerrig o 300 pwys, amryw filltiroedd, ac yn difa pob peth o fewn 15 milltir. Y mae hwn, meddant, o'i godiad cyntaf, yn 300 milltir o gwmpas. Pa fath dân dychrynllyd sydd yn tori allan yn yr awyr, yn fynych? Gellir dweud

ein bod ni yn byw yn y tân, a'r tân ynom ninnau, ac etto, trwy drugaredd, yn cael ein gwaredu. Y mae Duw yn gadael i'r tân ddifa rhai weithiau, i ddangos beth allai fod, oni b'ai ei ragluniaeth ef, er rhybudd i eraill. Nid ydyw yn rhyfedd os ystyriwn yr holl bethau hyn, y caiff y byd ei losgi yn y diwedd, fel y tystia'r Ysgrythyr, 2 Pedr 3. 7, 10, 12. Ond y mae yn rhyfedd yn hytrach, ei fod ef cyd yn cael ei gadw heb ei losgi. Onid yw yn rhyfedd fod tân yn llawn mewn olew, pŷg, brwmstan, a phylor, a'r cyfryw bethau, ac etto yn gorwedd yn farw? Pa ham na byddai iddo ef, o hono ei hunan, dori allan o honynt? Rhwbio un pren wrth un arall, neu guro cerrig yn eu gilydd, a wna i dân ddyfod allan o honynt. Onid yw yn rhyfedd fod cymmaint o dân yn dyfod oddi wrth yr haul, ïe, cymmaint ag a lysg unrhyw beth, pan y cesglir ond ychydig o hono y'nghyd mewn Llosg-wydr, ac etto y byd heb ei losgi? Onid yw yn rhyfedd fod goleuni a thân yr haul, yn wastad yn ymdaenu, ac felly yn gwanhau fel yr elont oddi wrthi? Ac hefyd fod y ddaear wedi ei chyfleu yn gymmwys yn y man lle caffo hi ei gwresogi, ac nid ei llosgi. Y neb ni welo Dduw yn y pethau hyn, ni wel ef ddim; a'r hwn ni chydnabyddo ei ragluniaeth, ni haeddai gadwedigaeth.

## 7. *Nad yw holl Ddyfroedd y byd yn ddigon i ddiffodd y Tân hwn.*

Dywed rhyw un, nad yw mor rhyfedd fod y byd heb ei losgi, gan fod ynddo ddigon o ddwfr i attal ac i ddiffodd ei dân ef. Gwybydded y cyfryw un, nad yw holl ddwfr y byd yn ddigon i ddiffodd ei dân ef; ac heblaw hyny, y mae'r tân mewn amryw bethau yn cael ei ennyn gan ddwfr. Bwriwch ddwfr ar galch poeth, a chwi a gewch weled beth a wna. Bwriwch ddwfr oer am ben *oil vitriol*, a hwy a boethant y bottel lle y byddont, fel nas galloch ymaflyd ynddi. Ac fel hyn y gwna *Sal Armoniack*, ac amryw bethau eraill, Gwnewch does o frwmstan, a haiarn yn flawd dur-lif, a diferwch ddwfr oer arno, ac yn mhen oriau efe a

dwymo, ac o'r diwedd a ennyn. Dwfr yn dyfod trwy y fath wythïenau a hyn, ac yn ymgymmysgu, yw 'r ffynhonau poethion fel y mae yn debygol. Yn ddiweddaf, y mae etto amryw bethau ag a losgant mewn dwfr a than ddwfr. Y mae tân weithiau yn tori allan y'ngwaelod y moroedd, a thrwy'r moroedd i'r awyr, fel y mae genym esampl ddiweddar ryfedd, am ynys fechan, danllyd, a gododd i fynu o waelod y môr yn y flwyddyn 1707, gerllaw ynys Sanctorini.

## 8. *Am y* Phosphorus.

Math o dân rhyfedd iawn yw hwn, a ddyfeisiwyd yn ddiweddar, ac yn cael ei dynu a'i wneuthur o leisw a f'o wedi sefyll yn hir yn yr awyr. Nid yw ef ond megis tân yr awyr, wedi ei gasglu y'nghyd, ac megis yn perthyn i'r mellt. Y mae efe megis yn dân sylweddol, ac etto yn oer, hyd oni chaffo ei ennyn. Gellir ei gadw mewn dwfr. Fe lysg mewn awyr, ac heb awyr, ac mewn dwfr wrth y gwres lleiaf. Rhwbiwch ef ar bapur, a thwymwch ef, ac fe lysg megis yn fflam. Os gwnewch bensil o hono, ac ysgrifenu â hi, bydd y llythyrenau megis yn dân yn y tywyllwch. Irwch beth o hono ar gefn eich llaw, a bydd megis yn fflam, ac etto heb fod yn llosgi; ond os twymwch ef yn boeth, fe lysg yn enbyd ac yn anniffoddadwy. Y mae ef yn profi fod y goleuni neu'r tân yn gorph, ac yn sylwedd neillduol, ac y gall ef lynu a gludo wrth bethau eraill. Y mae gwaith *Antimony* yn myned yn fwy pwysig, wrth ei ddal yn yr haul mewn llosgwydr, yn profi yr un peth hefyd.

## 9. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr ystyriwn yr holl bethau hyn; sef ystyriwn natur y tân, a rhinweddau'r tân, a chreulondeb y tân, a gwasanaeth y tân, ac angenrheidrwydd y tân, ac etto yr helaethrwydd sydd o hono trwy'r holl fyd, ac hefyd y modd y mae yn cael ei gadw o fewn terfynau, ac ni allwn lai na chydnabod, a gogoneddu gallu, doethineb, a daioni Duw. (Ps. 104. 31, 33, 34. 35.) Gogon-

iant yr Arglwydd fydd yn dragywydd : yr Arglwydd a lawenycha yn ei weithredoedd. Canaf i'r Arglwydd tra fyddwyf fyw: Canaf i'm Duw tra fyddwyf. Bydd melus fy myfyryod am dano : mi a lawenychaf yn yr Arglwydd. Darfydded pechaduriaid o'r tir, na fydded yr annuwiolion mwy. Fy enaid, bendithia di yr Arglwydd. Molwch yr Arglwydd.

---

## PEN. XIX.

### *Am Fandra gronynau pob Defnydd, y'nghyd âg amryw Ddeddfau naturiol.*

Y Mae pob cyrph naturiol wedi eu gwneuthur i fynu o rifedi annrhaethadwy o ronynau mân, y rhai sydd yn dyfod y'nghyd, trwy fath o ddeddfau naturiol, ag sydd wedi eu gosod gan y Creawdwr iddynt; yr hyn sydd yn dangos ei ragluniaeth ef, gan eu bod yn gwbl anhyspys o'r hyn y maent yn ei wneuthur.

### 1. *Am Fandra Gronynau'r Dwfr.*

Rhyfeddol mor fân y cymmer y dwfr ei ranu! Mewn diferyn o ddwfr, na byddo ond y pum' canfed ran o fodfedd, nid oes dim llai na 26 miliwn o ronynau dwfr. Gall 13 mîl o ronynau dwfr sefyll ar flaen y nodwydd wnïo. Modfedd o ddwfr, trwy ei dwymo, a'i godi i fynu yn anwedd, neu yn darth, a all gael ei ranu yn 13 mîl o filiynau o ronynau. Y mae gronynau tarth yn fân iawn, fel yr â llawer o honynt i wnethur diferyn o hono. Y mae Mr. *Leuwenhoek* yn dywedyd, iddo ganfod mewn dwfr pur, had anifeiliaid, a phethau eraill, dri math o greaduriaid byw; a bod 1000 miliwn o'r rhai lleiaf, yn gwneuthur cymmaint a thywodyn, ac etto yn weledig trwy *Ficroscope*. Yn awr fe ellir dangos a phrofi, yr â biliwn neu ddau o'r rhai hyn, i wneuthur diferyn o ddwfr, na byddo ond y pum' canfed ran o fodfedd. Ac etto gan fod y rhai hyn yn greaduriaid byw, pa beth a ddywedwn am fandra'r gronynau

sydd yn gwneuthur eu haelodau, a'u pibellau, a holl ranau eu cyrph, ac hefyd y gwaed neu'r sudd ag sydd ynddynt?

## 2. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Gwelwn, ystyriwn, a rhyfeddwn y modd y mae yr Arglwydd yn gweled bod yn dda, i fanhau pethau yn gyntaf, cyn gwneuthur cyrph mwy o honynt. O, y modd rhyfeddol y mae'r diferyn dwfr yn cael ei ranu a'i fanhau, wrth ei godi i fynu i'r awyr! Heb ei fanhau, byddai heb godi i'r awyr; heb godi i'r awyr, heb wlaw; heb wlaw, heb fywyd y byd. Onid yw Duw i'w weled yma, i'w ryfeddu, a'i wasanaethu?

## 3. *Am ronynau yr Awyr, y Tân, a'r Goleuni.*

Pa mor fân yw gronynau yr awyr, gan eu bod yn anweledig trwy'r spienddrych gorau! Ac etto pa mor fân anfeidrol yw gronynau'r tân, gan yr â ef trwy 'r gwydr, a phob cyrph eraill, trwy ba rai nid â nag awyr na dwfr! Ac etto yn mhellach, pa mor fanach na'r cwbl yw gronynau'r goleuni! Fe ellir dangos, fod mwy na 40 septiliwn o ronynau goleuni, yn dyfod bob moment, o'r 14 ran o un *grain* o wêr, mewn canwyll 6 yn y pwys yn llosgi: fe lysg hon i gyd mewn 5 awr, ac felly'r 14 ran o un *grain* bob moment. Ac od oes swm o 44 ffigren o ronynau goleuni, yn dyfod allan bob moment, pa beth a ddaw allan mewn 5 awr? Swm y tywod a wna grug cymmaint a'r ddaear, sy'n 32 ffigren, a'r cyntaf yn 3: eithr swm gronynau'r goleuni, sydd yn dyfod allan o'r fath ganwyll bob moment, sydd yn 44 ffigren, a'r cyntaf yn 4; gan hyny nid yw swm y tywod yma i'r goleuni, ond fel un i 10 biliwn.

## 4. *Am Fandra Gronynau Copr, Pres, a'r cyfryw bethau celyd.*

Y mae Mr. Boyl yn dangos, y rhydd ychydig gopr, ie, un *grain* wedi ei doddi, neu ei ddattod mewn *Spirit Sal Armoniack*, liw gwyrddlas i 28 mîl cymmaint a hyny o ddwfr. Yn awr os ystyriwn, fod un gronyn o

gopr yn mhob gronyn gweledig o ddwfr, bydd y *grain* copr wedi ei ranu yn 100 miliwn o ronynau. Y mae Mr. Leuwenhoek yn dywedyd, yr âi 1000 biliwn o'r mân fywiolion lleiaf ar a allai ef eu dirnad trwy *Ficroscope*, mewn modfedd ysgwar. Yn awr os bydd gronynau un rhyw gorph mor fân, fel na byddont yn weledig trwy *Ficroscope*, y mae yn sicr y bydd mwy na 1000 biliwn o honynt yn mhob modfedd, o'r lleiaf o hono. A hyn a ellir ei ddywedyd am bob math o gyrph, a phob math o ddefnyddiau. Ie, nid yw hyn ddim yn ormod, canys y mae gan yr holl fân fywiolion aelodau, a gwythienau, a phethau eraill yn perthyn at fywyd. Ac hefyd yn mhob cyrph y mae llawer o dân, yr hwn sydd a'i ronynau yn fân anfeidrol. Nid yw llawer o gyrph yn wasanaethgar, nes b'o iddynt gael eu gwneuthur yn ronynau mân. Ni wnai'r dwfr fawr o wasanaeth yn y byd, pe byddai yn wastad yn ia. A pha wasanaeth a wnai'r tân pe na b'ai'r corph y lle byddai yn cael ei ddattod, ac ynteu ei dynu allan? Pa beth a wnai'r powdr gwn, tra fo'r tân yn gorwedd yn farw yndd? Ond pan y caffo ei dynu allan a'i falu, pa mor fân fydd ei ronynau, ac etto pa mor nerthol i gyd a fyddant?

### 5. *Fod pob mân ronynau, yn cadw eu Rhinweddau, a'u Priodoliaethau pennodol.*

*Glass Antimony* wrth ei osod i sefyll mewn gwîn, a wna wrthwyneb neu *Vomit*, i lawer iawn o ddynion, heb neb yn gallu dirnad, ei fod ef ddim yn llai ei bwys. Un owns o hono sydd yn ddigon i ddinas fawr o ddynion; yr hyn sydd yn dangos, nid yn unig fandra ei ronynau, eithr hefyd eu bod yn cadw eu rhinweddau, a'u priodoliaethau pennodol. Aur, arian, *mercury*, a phethau eraill hefyd, o'u dattod mewn math o ddyfroedd, a'u casglu eilwaith y'nghyd, trwy beri iddynt waelodi, a fyddant byth yn cadw eu naturiaethau priodol. Pa beth a ddywedwn am ronynau'r *Magnet* y rhai sydd yn myned trwy'r gwydr, a phob peth arall i gynhyrfu'r haiarn? Y mae hyn yn dangos, nid yn unig mandra eu gronynau, eithr hefyd eu rhinweddau,

a'u priodoliaethau pennodol. Pa beth a ddywedwn am fandra gronynau pob aroglau, pêr a drewllyd; a gwynt a sawr ol anifeiliaid, a phethau eraill?

### 6. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr ystyriwn, fel y mae'r byd i gyd wedi ei wneuthur i fynu o fân ronynau; ac ystyriwn eilwaith, pa rifedi anarhaethadwy sydd o honynt mewn awyr, daear, a dyfroedd, a holl dân y byd; ac hefyd y modd y maent i gyd yn dilyn eu deddfau naturiol, ac yn cadw eu rhinweddau a'u priodoliaethau pennodol. Ystyriwn hyn i gyd, ac nis gallwn lai na rhyfeddu perffeithrwydd Duw, yr hwn a'u gwnaeth, a'r hwn a ŵyr am bob un o honynt, a'r hwn sydd hefyd yn eu trefnu. Nid rhyfedd gan hyny oedd i Iesu Grist ddywedyd, (Mat. 10. 30.) Fod holl wallt ein penau wedi eu cyfrif. Yn awr bwriwn fod holl ddynion y byd yn 13385 miliwn, yr hyn yw tyb Mr. Leuwenhoek, a bod gwallt pob un yn ddeg cymmaint, sef 200000 miliwn, yr hyn sydd lawer yn ormod, etto ni bydd gwallt dynion y byd wrth hyn, ond 40000 triliwn, yr hyn nid yw ond ychydig at rifedi gronynau'r goleuni, sy'n dyfod bob moment oddi wrth ganwyll yn llosgi; ïe, nid yw ond 23 ffigren at 44. Yn awr beth yw hyn i gyd at rifedi gronynau'r byd, y mae yr Arglwydd yn gwybod am danynt, yn gofalu ac yn edrych atynt, yn eu trefnu ac yn eu llywodraethu, bob un o honynt? Ystyriwn etto pa fath fyd o fywiolion sydd i'w weled trwy y spien-ddrychau, ag sydd yn anweledig hebddynt. Y mae'r gwyddonyn ag sydd mewn caws yn greadur byw perffaith; y mae ganddo aelodau i ymgynhyrfu, a blew i'w guddio, ac wyau i'w dodwy, a rhai bach i'w mhagu. Y mae llysywod i'w gweled mewn gwinegr, y rhai nid ydynt yn dodwy; ond yn bwrw eu rhai bach yn fyw, y rhai sydd yn ddigon amlwg trwy'r spien-ddrychau. Ac fel hyn y mae miloedd o greaduriaid eraill. Yn awr pa fath ragluniaeth ryfeddol yw hono, sydd yn gofalu am yr holl greaduriaid hyn? A dybiwn ni nad yw Duw yn gofalu am ddynion, pan y mae yn gofalu am yr holl greaduriaid hyn? Oni allwn ni ddywedyd

gyda'r Salmydd, (Ps. 147. 5.) Mawr yw ein Harglwydd; a mawr ei nerth: aneirif yw ei ddeall? (Ps. 139. 6.) Dyma wybodaeth ry ryfedd i mi: uchel yw, ni fedraf oddi wrthi. Medd yr Apostol, (Heb. 4. 13.) Ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef: eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef, am yr hwn yr ydym yn son. Weithian gan hyny ystyriwn ragluniaeth, rhyfeddwn ragluniaeth, clodforwn ragluniaeth, gwasanaethwn, a hyderwn ar ragluniaeth Duw.

## 7. *Am Ddeddfau a Galluoedd Gludiad* (Cohesion.)

Yn awr os ystyriwn yr holl fyd yma, fel y mae ynddo ei hun, yn fyd o fath o ronynau annirnadwy, ni a gawn weled na buasai greadur byth ynddo, oni buasai bod gronynau o amryw fath yn gludio wrth eu gilydd, trwy fath o ddeddfau naturiol, wedi eu gosod gan Dduw iddynt. Ystyriwn hefyd pa mor nerthol, ac mor gryf mewn llawer o bethau yw'r gludiad yma; megis mewn haiarn, cerrig, a'r cyffelyb bethau; a pha nerth y maent yn ofyn yn fynych i'w gwahanu. Ystyriwn etto amrywiaeth gludiad, eithr yn wastad yn y modd gorau. Nid yw'r tafod mor galed a'r dannedd, na'r dannedd mor dyner a'r tafod. Nid yw'r ŷd fel yr haiarn, na'r haiarn fel yr ŷd, fel y mae yn dda nad yw. Er bod rhai cyrph, o herwydd eu gludiad, yn llawer tewach eu defnydd na'u gilydd, etto yr ydys yn tybied nad oes un corph yn y byd, nad yw ei wagter yn anfeidrol mwy na'i ddefnydd; gan fod y goleuni yn myned trwy rai cyrph fel trwy yr awyr; ac hefyd gronynau'r *Magnet*. Nid yw defnydd gwydr i'w wagter, fel y tybir, ond fel un tywodyn i gorph y ddaear; ac nid yw aur ond 8 tewach ei ddefnydd na gwydr. Fe allai, medd Mr. Keil, y gallai defnydd yr holl fyd gael ei gynnwys mewn troedfedd o le. Rhyfedd! rhyfedd! rhyfedd! Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yma? Ac oni all yr hwn a haero fod y pethau hyn o ddamwain, haeru fod ei wely

pren yn galed, a'i wely plyf yn esmwyth o ddamwain hefyd?

### 8. *Am Ddeddfau a Galluoedd Neillduad* (Separation.)

Pe na byddai yn y byd ond gludiad, byddai'r byd yn druenus; eithr yn awr y mae ynddo ddeddfau a galluoedd eraill, yn perthyn at neillduad, trwy ba rai y mae pethau eilwaith yn cael eu neillduo, a hyny er daioni a gwasanaeth y byd. A rhyfedd iawn yw hyn, gan fod y mân ronynau mewn tân ac awyr, daear a dyfroedd, mor fynych yn curo ac yn glynu wrth eu gilydd, ac mor fynych eilwaith yn cael eu nheillduo, eu bod heb fethu, heb bylu, heb dreulio, ac hefyd heb golli eu rhinweddau, a hyny dros gynnifer o flynyddoedd ac oesoedd. Onid yw llaw Duw eilwaith yn ymddangos yma?

### 9. *Am ddwy Ddeddf naturiol eraill, sef Gwthiad a Thyniad*, (Percussion, & Attraction.)

Dyma ddwy o brif ddeddfau natur; os ystyriwn fel y mae gronynau yr awyr, a'r tân, a'r goleuni, a'r dwfr, a'r phethau eraill hefyd, mewn cyffroad gwastadol; fel y maent yn curo ac yn gwthio eu gilydd, filoedd a miloedd o weithiau bob moment; ni allwn lai na chydnabod, y byddai'r byd a chwbl o'i fewn, yn yr annrhefn a'r annibendod mwyaf, oni b'ai fod yr holl ronynau hyn yn cael eu tywys a'u trefnu, gan fath o ddeddfau naturiol, rhyfeddol, ac anghyfnewidiol. Y mae y rhan fwyaf o'r deddfau hyn, o bosibl, yn anhyspys, eithr y mae'n amlwg fod y ddwy hyn yn cael lle yn eu mysg, sef gwthiad a thyniad. Y mae yn sicr wrth brofiad, fod rhai cyrph yn gwthio ac yn gwrthod eu gilydd, ac eraill yn sugno ac yn tynu eu gilydd. Y mae pwys pob peth tua chanol y ddaear, yn dra amlwg, yn dra rheidiol, ac yn dra rhyfeddol. Y mae'r sugn hwn hefyd i'w ddirnad yn mysg y cyrph nefol, er pelled ydynt oddi wrth eu gilydd. Y mae bwlet canon, er cyflymed

yw, yn dilyn y ddeddf hon yn dra chywir, gan dynu yn wastad tua'r ddaear, dros bob modfedd a redo hi. Ië, y mae'r goleuni, yr hwn sydd yn gyflymach na dim yn y byd, eto yn cadw ac yn dilyn y deddfau hyn yn dra rhyfeddol, sef y sugn a'r gwthiad naturiol sydd yn mhob defnydd Rhaid gwahaniaethu rhwng y tyniad neillduol, sydd mewn rhyw bethau, tan ryw amgylchiadau, a'r tyniad neu'r sugn cyffredin sydd yn mhob defnydd.

## 10. *Fod y cyffroad cyntaf, ac hefyd ei barhad, yn dangos ac yn profi fod Duw.*

Ystyriwn yn 1, Y gall corph fod yn llonydd, neu mewn cyffroad, ac etto byth fod yr un corph. 2, Y mae yn canlyn, nad yw cyffroad yn hanfodol i gorph. 3, Pa fwyaf fyddo'r corph, neu pa fwyaf o ddefnydd fyddo y'nghyd, mwyaf diog a fydd i gyffroad, neu i gymmeryd ei attal. 4, Oddi wrth y cwbl y mae yn amlwg, nad yw'r cyffroad cyntaf oddi wrth gorph, eithr bod Hanfod Ysprydol, yr hwn sydd yn rhoddi ac yn cynnal cyffroad i bob peth. Corph yn llonydd, ni chyffroa byth oni chyffroir ef. Corph mewn cyffroad, ni saif byth oni attelir. Y corph lleiaf mewn cyffroad, a rydd gyffroad i'r corph neu'r cyrph mwyaf. Y mae Duw yn alluog, gan ei fod ef yn rhoi cyffroad i gynnifer o gyrph mawrion yn y byd. Y mae Duw yn ddoeth, gan ei fod ef yn trefnu cyffroad cynnifer o gyrph mawr a mân, i gynnifer o ddibenion. Ac y mae Duw yn ddaionus, gan fod y cwbl yn gwasanaethu er cymmaint o ddaioni i'w greaduriaid. Onid yw perffeithrwydd Duw mor amlwg yn ei weithredoedd ag yw cywreinrwydd gŵr, mewn llyfr dysgedig celfyddol, na byddo ynddo ddim ond papur ac *ink* i'w gweled?

## 11. *Am bethau Llifiog* (Fluids.)

Y mae yn y byd lawer o bethau llifiog; megis dwfr, awyr, tân, a goleuni; ac y mae gan y rhai hyn eu hamryw ddeddfau naturiol, yn ol pa rai y maent yn

gweithio yn wastadol, yn dra rhyfeddol. Y mae pethau llifiog yn gwasgu yn mhob ffordd yr un modd. Y peth a f'o yn ysgafnach na chymmaint ag ef o ddefnydd llifiog, a nofia ynddo; eithr y peth a fyddo yn drymach, a sodda. Rhoddwch ddwfr mewn llestr gwydr, yna rhoddwch arian byw, ac fe â'r arian byw yn isaf yn ebrwydd; yna rhoddwch haiarn, ac ynteu a sodda yn y dwfr, eithr a nofia ar wyneb yr arian byw; yna rhoddwch olew, ac fe nofia hwn ar wyneb y dwfr. Oni b'ai fod yr awyr yn ddefnydd llifiog, ac yn gwasu, ac yn rhedeg yn mhob ffordd fel y dwfr, nis gallai ddyn, na chreadur arall, fyw mewn un tŷ na thwll, gan na ch'ai yr awyr ddyfod yn union i lawr, a phe gallent fyw, eto nis gallent glywed nac arogli. Dyma ddeddf ryfeddol sy'n perthyn i'r dwfr, fel y mae yn ddefnydd llifiog. Pe rhoddid pibell hir i fynu yn syth mewn llestr llydan cauedig o ddwfr, pan y llenwid y bibell, byddai'r gwasg yn gymmaint ar bob modfedd o'r llestr, a phe byddai yn gyflawn o ddwfr i fynu i uchder y bibell. Rhyfeddwn, a chlodforwn allu, doethineb, a daioni Duw.

## 12. *Am bethau Surion a Chroyw* (Acid and Alcalies.)

Y mae deddfau naturiol rhyfeddol yn perthyn i *Acids* ac *Alcalies*. Y rhai hyn wrth eu cymmysgu y'nghyd, a weithiant ac a ferwant yn dra ffyrnig dros ychydig, ac yna a lynant wrth eu gilydd; eithr gellir eu gwahanu eilwaith mewn modd rhyfeddol. Haiarn wedi ei wneud yn flawd dur-lif, ac *Aquafortis*, a ymgynhyrfant yn rhyfeddol, gyda mawr wrês, ac wedi hyny a ânt yn un dwfr. *Spirit Sal Armoniack* a *Sal Tartar* mewn dwfr, trwy eu cymmysgu â *Salt petre*, neu *Vitriol*, a wnant yr un modd. Y mae un *Acid* yn gryfach na'r llall; ac felly yr un modd, un *Alcali* yn gryfach na'r llall. Y mae un *Acid* megis yn ymaflyd âg *Alcali*, ac yn myned megis yn un dwfr; eithr pan y delo un *Acid* cryfach i mewn, y mae'r cyntaf megis yn colli ei afael, ac yn syrthio i'r gwaelod. Rhoddwch arian mewn

*Aquafortis*, ac fe â yn ddwfr; rhoddwch gopr ar ei ol, ac fe â yr arian yn waddod i'r gwaelod; rhoddwch haiarn i mewn, ac fe â'r copr i'r gwaelod; rhoddwch *Lapis Calaminaris* i mewn, ac fe â'r haiarn yn waddod; rhoddwch *Sal Tartar* i mewn, ac fe â hwn yn un â'r dwfr, a'r garreg yn waddod i'r gwaelod. Toddwch aur ac arian y'nghyd, a phan oerant, ànt yn un fettel, neu delpyn caled; ond bwriwch ef i *Aquafortis*, ac yn ebrwydd fe â yr arian yn un â'r dwfr, a'r aur fel mân lwch neu waddod i'r gwaelod: ac fel hyn y gwna amryw bethau eraill. Y mae *Acids* ac *Alcalies*, megis yn llawn yn y byd; a gormod o un neu y llall yn y corph yw yr achos o lawer o glefydau. Ymae'r llaeth, a halltrwydd y gwaed, y'nghyd â llawer iawn o eri'r corph yn *Acid*. Eilwaith, y mae *Acid* mewn *Sulpher*, *Copras*, *Alem*, *Salt petre*, a halen cyffredin; Y mae hefyd lawer o *Acid* mewn llysiau, yn enwedigol mewn ffrwythydd a diodydd surion. Y mae yr *Alcalies* hefyd i'w cael yn mhob rhan o fywiolion; yn enwedigol yn llygaid y crangcod, plisg wyau, cregin westrys, ac eraill wedi eu llosgi; corn carw ac esgyrn. Felly hefyd coral o bob math, aur, arian, copr, haiarn, plwm, arian byw, *antimony*, *chalk*, a phethau eraill. Y mae gan yr holl *Acids* ac *Alcalies* eu deddfau naturiol, ac y maent yn rhyfeddol yn eu dilyn, yr hyn sydd yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw y Creawdwr mawr.

## 3. *Casgliad oddi wrth y cwbl.*

Yn awr ystyriwn pa fath fyd sydd o'n blaen ni. Pa gynnifer rhyw o bethau sydd ynddo. O ba gynnifer rhyw o ronynau mân y mae pob corph wedi ei wneuthur. Pa fath fôr o bethau cymmysg yw yr awyr. Pa fath ddeddfau naturiol, rhyfeddol, y mae'r holl fân ronynau yn eu dilyn. Er bod yr awyr yn llawn o bob math o fân ronynau, etto nid oes yn glynu wrth un corph ond ei ronynau priodol. Y mae'r gronynau pêr yn glynu wrth yr afal pêr, a'r gronynau drewllyd yn glynu wrth y llysiau drewllyd, a'r gronynau gwenwynig yn glynu wrth y peth gwenwynig: ac felly pob

peth arall ag a fyddo yn tyfu. Pa fath ddeddfau naturiol, a rheolau rhyfeddol sydd wedi eu gosod i'r holl greaduriaid. Pa mor rhyfedd yw gwaith y greadigaeth! Pa ham y tybia rhai fod yr adgyfodiad oddi wrth y meirw, megis yn anmhosibl? A ydyw adgyfodi cyrph yn anhawsach na chreu cyrph? Neu wneuthur cyrph yn feunyddiol, o holl ronynau'r byd? Oni sugna'r *Magnet* y dur atti, pe b'ai yn y llwch yn mysg mil o bethau? Onid yw ei rhinwedd yn rhedeg trwy bob peth, fel nad oes dim a all ei attal? Onid yw yn troi yn dra rhyfeddol at seren y Gogledd, er pelled ydynt oddi wrth eu gilydd? Onid oes sugn rhyfeddol yn y ddaear, a'r cyrph nefol; ac yn cyrhaedd i bellder anfesurol? Onid yw yn hawdd i Dduw ddyfod a chyrph y'nghyd trwy rai o'r ffyrdd hyn, heblaw miloedd o ffyrdd eraill anhyspys i ni? Tybia rhai mai *Stamen* cyntaf pob rhyw ddyn, fydd ei hunan-gorph ef, neu'r unrhyw gorph, a hwn wed'yn yn cael ei wisgo â chnawd o'r newydd; neu ynteu mai'r *Stamen* ei hun fydd y corph yn yr adgyfodiad. Ystyriwn yn iawn yr holl bethau hyn, y'nghyd â'r hyn a ddywedwyd am y ddaear a'i thrigolion, ac nis gallwn lai na chydnabod gallu, doethineb, a daioni Duw. Nis gallwn lai na chydnabod ei hanfod a'i berffeithrwydd; ac yna oni chauwn ein llygaid yn erbyn y goleuni, ac ymroi i ddibrisio Duw a phob Daioni, nis gallwn lai, o flaen pob peth, nag ofni, rhyfeddu, caru, clodfori, a gwasanaethu Duw. Gochelwn fod o nifer y dynion sydd yn addunedu llawer yn eu hadfyd, eithr yn anghofio'r cwbl yn eu hawddfyd; yn ol esampl y diafol yn y chwedl:

*The devil was sick,*
*The devil a monk would be:*
*The devil was well,*
*The devil a monk was he.*

Y diawl yn glaf,
Y diawl âi'n sant heb ble;
Y diawl yn iach,
Diawl sant nis byddai fe.

---

# PEN. XX.

## *Casgliadau bucheddol oddi wrth yr olwg hon ar y byd.*

AR ol rhoi golwg fel hyn ar y bêl ddwfr ddaearol a'i thrigolion, y mae yn gofyn etto i mi wneuthur ychydig gasgliadau bucheddol oddi wrth y cwbl.

### 1. *Fod gweithredoedd Duw yn fawr, ac yn rhyfeddol a rhagorol.*

Y casgliad cyntaf, a fydd geiriau'r Salmydd, (Ps. 111. 2.) Mawr yw gweithredoedd yr Arglwydd. Am hyny ni ddylai neb ddibrisio yr un lleiaf o honynt, canys y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn ngwneuthuriad y creadur distadlaf. Tebygai rhai, a dywedant hefyd, mai ofer yw myfyrio ar y cyfryw bethau; ond nid ofer yw, eithr buddiol, hyfryd a rheidiol. Medd y Salmydd, (Ps. 77. 12.) Myfyriaf hefyd ar dy holl waith; ac am dy weithredoedd y chwedleuaf.

### 2. *Fod gweithredoedd Duw i'w chwilio allan, a bod y cyfryw Ymofynion yn ganmoladwy.*

Ein dyled yw chwilio allan weithredoedd Duw, canys ni osododd Duw y cyfryw bethau mawrion o'n blaen ni, ac er ein daioni, i ni i'w dibrisio, ond i'w hadnabod, ac i ryfeddu ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni ef ynddynt. Y mae ceisio adnabod gweithredoedd Duw gyda hoffder, yn ganmoladwy iawn; canys medd y Salmydd, Mawr yw gweithredoedd yr Arglwydd, wedi eu ceisio gan bawb a'u hoffant. Ac medd Elihu, (Job 36. 24, 25.) Cofia fawrhau ei waith ef, ar yr hwn yr edrych dynion. Pob dyn a'i gwel, a dyn a'i cenfydd o bell.

### 3. *Fod gweithredoedd Duw yn amlwg i bawb, ac am hyny fod Angrhediniaeth yn afresymol.*

Y mae gweithredoedd Duw yn amlwg i bawb, gan hyny, pa mor afresymol yw yr angrhedadyn a'r didduw?

Pa mor ffol yw'r dyn a dybio fod y cwbl o ddamwain a digwyddiad? Pa mor ddall yw y dyn na wel y peth a wel pawb o bell? O, fel y mae pleserau pechadurus yn dallu dynion! Y mae y dyn didduw yn wrthryfelwr yn erbyn ei reswm, yn gystal ag yn erbyn ei Dduw. Y dyn a dybio nad oes yr un Duw, ni wn i pa ham y tebygai ef fod yr un dyn.

### 4. *Y dylai gweithredoedd Duw ein cymmell ni i ofni a gogoneddu Duw.*

Gan fod gweithredoedd Duw yn fawr, a'i allu, a'i ddoethineb, a'i ddaioni ef yn ymddangos ynddynt yn dra rhyfeddol, ni a ddylem gymmeryd ein cymmell ganddynt, i'w ryfeddu, i'w ofni, i'w garu, i'w glodfori, ac i'w wasanaethu, a'i ogoneddu ef. Medd y Salmydd, (Ps. 29. 1.) Moeswch i'r Arglwydd, chwi feibion y cedyrn; moeswch i'r Arglwydd ogoniant a nerth.

### 5. *Y dylai Gweithredoedd Duw ein cymmell ni i Ddiolchgarwch.*

Fel y dylai gallu a doethineb anfeidrol Duw, sydd yn ymddangos yn ei holl waith, ein cymmell ni i ofn ac ufudd-dod; felly dylai ei ddaioni anfeidrol ef hefyd, ein cymmell ni i fawl a diolchgarwch. Pa ddaioni rhyfeddol a ddangosodd Duw i'w greaduriaid, trwy roddi iddynt fod, a bywyd, a phob peth arall? Eu ffurfio yn y modd prydferthaf, eu cyfleu yn y lle cymhwysaf, a'u cynnysgaeddu yn y modd anwylaf. Y mae mawl a diolchgarwch, yn ddyled rhesymol ar bob creadur i'w Greawdwr; ac am hyny y mae'r Salmydd yn galw ar yr holl greaduriaid i foli Duw, (Ps. 148.) Molwch yr Arglwydd. Molwch ef ei holl angylion: molwch ef ei holl luoedd. Haul a lleuad, a holl ser goleuni. Y dreigiau, a'r holl ddyfnderau, tân, a chenllysg; eira, a tharth, gwynt ystormus, yn gwneuthur ei air ef. Y mynyddoedd a'r bryniau oll; y coed ffrwythlon a'r cedrwydd. Y bwystfilod, a phob anifail; yr ymlysgiaid, ac adar asgellog. Brenhinoedd y ddaear, a'r holl bobloedd; tywysogion, a holl farnwyr y byd.

Gwyr ieuaingc, a gwyryfon hefyd, henafgwyr, a llangciau, molant enw yr Arglwydd, o herwydd ei enw ef yn unig sydd ddyrchafadwy; ei ardderchawgrwydd ef sydd uwchlaw daear a nefoedd.

## 6. *Y dylem ni roi gwir Wasanaeth ac Addoliad i Dduw, yn enwedig ar ei Ddydd.*

Ein dyled ni yw ystyried daioni Duw tuag attom, yna ymroi i'w ogoneddu ef drachefn, a hyny bob amser, yn enwedigol, ar ei ddydd. Y mae yr Arglwydd wedi gosod un dydd o saith heibio, at ei wasanaeth ei hun, ac nid yw hyny ond bychan iawn, a thra rhesymol, ac hefyd er ein daioni ni yn benaf, gan hyny ymrown yn wastad i ogoneddu Duw ar y dydd hwn, trwy fyfyrio ar waith creadigaeth, prynedigaeth, rhagluniaeth, a Gogoniant tragywyddol; ac nid yn unig myfyrio ar y pethau hyn, eithr hefyd addoli Duw, gan gyd-ymroi i weithio allan ein iechydwriaeth. Ai gormod yw un dydd o saith, i glodfori Duw mor fawr, a Duw mor dda; ac hefyd i enill hawddfyd gwych, a hyny dros fyth, i ni ein hunain? Y mae Duw yn ddaionus i bawb, gan hyny bydded i bawb ddyfod y'nghyd i wasanaethu Duw ar ei ddydd. Trueni yw bod cynnifer o leoedd i wasanaethu Duw yn y wlad, a chyn lleied o rai yn dyfod i wasanaethu Duw ynddynt. Nid oes fawr yn dyfod y'nghyd wrth yr hyn a ddylai ddyfod; ac o'r rhai sydd yn dyfod, y mae yn enbyd fod y rhan fwyaf yn dyfod, nid i wasanaethu *Duw*, ond i'w gwasanaethu eu *hunain*. Yr oedd 460 o Synagogau yn Jerusalem, yn amser ein Iachawdwr, medd Dr. Light-foot, ac etto, wrth bob tebygoliaeth, heb fawr o wir addolwyr. Bydded i bob un o honom ni ddywedyd a gwneuthur fel y Salmydd, (Ps. 5. 7.) A minnau a ddeuaf i'th dŷ di, yn amlder dy drugaredd; ac a addolaf tua'th deml sanctaidd, yn dy ofn di.

# PEN. XXI.

## *Am dri Chyfundraeth* (System) *y Byd.*

WEDI son cymmaint am y ddaear a'i thrigolion, mi soniaf ychydig etto am y nefoedd, a'r ffurfafen a'u lluoedd, gan fod perffeithrwydd Duw yn ymddangos ynddynt fel o'r blaen; ac yn y lle cyntaf am y tair *System;* sef *System Ptolomy,* a *System Copernicus,* a'r *System* newydd.

### 1. *Am* System Ptolomy.

Yn y *System* hon, y mae'r ddaear yn cael ei chyfrif yn ganol y byd; yna elfen yr awyr; ac yna elfen y tân; yna cylch y lleuad; ac yna cylch mercher, gwener, yr haul, a mawrth, iou, a sadwrn, yna'r ser sefydlog; yna'r cylchoedd grisialaidd; yna'r cyffrowr cyntaf; ac yna yn olaf, nefoedd y gogoniant. Yn y *System* hon y mae yr holl gyrph nefol yn troi o ddeutu'r ddaear, o'r Dwyrain i'r Gorllewin, mewn 24 awr. Ac eilwaith y maent yn troi o ddeutu iddi, o'r Gorllewin i'r Dwyrain, mewn gwahanol amserau priod. Y mae'r ser sefydlog yn troi'r tro hwn, mewn 26 mil o flynyddau; eithr y cyffrowr cyntaf, sydd yn troi o'r Dwyrain i'r Gorllewin, mewn 2 awr, a'r ser a'r cwbl gydag ef.

### 2. *Am* System Copernicus,

Yn y *System* hon, ag oedd gan rai gynt, ond darfod i *Copernicus* o ddeutu'r flwyddyn 1474, ei hadnewyddu, y mae'r haul yn cael ei chyfrif yn y canol, a'r ddaear a'r planedau eraill, yn troi oddi amgylch iddi mewn gwahanol amserau: yn gyntaf y mae mercher, yna gwener, yna'r ddaear a'i lleuad, yna mawrth, yna iou a'i phedair lleuad, ac yna sadwrn a'i phump neu ragor o leuadau. Ar ol hyn y mae'r ffurfafen a'i ser sefydlog, y rhai a fwrir eu bod o'r un bellder oddi wrth eu canolbwynt, sef yr haul, ac yn wastad yn ddiysgog. Y mae tro'r ddaear ar ei phegynau ei hun, bob 24 awr, yn peri i ni debygu fod holl ser y ffurfafen yn troi. Y

mae *System Tycho Brane* yn cytuno â hon, oddieithr am dro'r ddaear. Y mae'r *System* hon yn cael ei dewis gan y dysgedigion yn awr, o flaen y llall, gan ei bod yn fwy naturiol, yn fwy perffaith, ac yn fwy tebygol. Ac am yr ysgrythyrau a'r rhesymau sydd yn ei herbyn, y maent yn cael eu hatteb yn rhagorol gan Mr. Derham, ac eraill. Nid gwaith yr ysgrythyr yw dysgu i ni bethau naturiol, ond pethau crefyddol. Ac am hyny y mae yr Ysgrythyr yn fynych yn son am bethau naturiol, yn ol eu hymddangosiad, ac yn ol tyb a chyfrifiad dynion, ac nid yn gymmwys yn ol eu nhaturiaethau. Nid yw'r Ysgrythyr yn fynych, i'w deall mewn ystyr lythyrenol, eithr mewn ystyr gyffelybiaethol. Ië, rhaid ei deall felly yn y lleoedd a honnir yn erbyn tro'r ddaear, a sefydliad yr haul; ac onite ni a haerwn fod gan yr haul fywyd, cyffroad, serchiadau, tŷ, lle i orphwys, a'r cyfryw bethau. Ac eilwaith, am waith yr haul yn sefyll yn amser Josuah, os cymmerwn y geiriau mewn ystyr lythyrenol, ni a haerwn iddi sefyll yn unig yn Gibeon, a'r lleuad yn nyffryn Ajalon. Ië, bod yr haul a'r lleuad yn clywed, a Josuah yn gweddio arnynt. Ac etto am y rhesymau sydd yn cael eu rhoi yn erbyn tro'r ddaear, y mae Galilæo, âg un rheswm yn eu hatteb hwynt oll; sef trwy ystyried un mewn *cabin* llong ar y môr, lle y caiff ef weled y bydd cwymp carreg, hedfaniad aderyn, a phob peth arall, yn digwydd yr un modd ag mewn ystafell ar y tir, er y bydd y llong yn rhedeg yn dra bunan. Y mae'r ddaear a'r awyr sy'n ei hamgylchu, yn cyd droi yn wastadol.

### 3. *Am y* System *Newydd.*

Nid yw'r *System* hon, ond yr un peth â'r llall, o ran yr haul, a'r ddaear, a'r planedau. Ond lle mae'r llall yn bwrw fod y ser o'r un bellder oddi wrth y canol, sef yr haul, ond bod rhai yn fwy a rhai yn llai; y mae y *System* newydd yn bwrw fod pob un o'r ser sefydlog yn haul, a bod bydoedd o blanedau yn troi oddi amgylch iddynt, ac hefyd y gallant fod mor bell oddi wrth eu gilydd, ag ydynt oddi wrthym ni; o herwydd pa ham hefyd, y gall llawer o honynt fod yn ymddangos

yn fwy neu yn llai. Y mae'r *System* hon yn cael ei derbyn gan lawer o'r dysgedigion a'r doethion yn mhob gwlad yn awr, o flaen y ddwy arall, am ei bod yn fwyaf ardderchawg, ac yn fwyaf teilwng o Greawdwr anfeidrol, ac am ei bod yn wiraf wrth bob tebygoliaeth.

### 4. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr pa beth a ddywedwn am y byd? Onid yw y nefoedd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef? A oes cyunifer o fydoedd ag sydd o ser? A ydyw yr holl fydoedd hyn yn cael eu trigfanu? Onid ydynt oll, wrth bob tebygoliaeth, wedi eu llenwi â chreaduriaid cymmwys iddynt, gan na wnaeth Duw ddim yn ofer? Onid yw'r fath Dduw i'w ryfeddu, a'i wasanaethu?

---

## PEN. XXII.

### *Am Faintiolaeth y Nefoedd.*

YR holl Genhedloedd gynt, ac etto, yn mhob lle, yn mhob gwlad, a phob amser, oeddynt ac ydynt yn cydnabod Duw, wrth edrych ar y nefoedd, a'r ffurfafen, a'i lluoedd; canys mor amlwg ac mor hynod y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos ynddynt. Ac yn awr er mwyn dywedyd ychydig am y pethau hyn yn fwy trefnus, gogyfer a dyfod a chwi i gydnabod, ac i ryfeddu Duw a'i berffeithrwydd, mi a gaf ddal sylw ar y saith peth hyn; sef, 1, Maintiolaeth y nefoedd. 2, Rhifedi mawr y cyrph nefol. 3, Eu cyflead, a'u pellder oddi wrth eu gilydd. 4, Eu cyffroad, a'u rhediad. 5, Eu dull, a'u llun. 6, Eu pwys a'u sugn. 7, Eu goleuni, a'u gwres. Yn awr am y rhai'n mewn trefn.

### 1. *Cymhariaeth yr Hen gyfrif â'r Newydd.*

Cyn dyfeisio spien-ddrychau mawrion, yr oedd dynion yn tybio fod y ser yn y ffurfafen, fel hoelion mewn

olwyn, yr un bellder oddi wrth y canolbwynt, sef y ddaear: eithr yn awr yr ydys yn gweled eu bod, nid yn unig yn amlach, yn fwy, yn mhellach, eithr hefyd yn cyrraedd i bellder anfesurol ac annirnadwy. Rhyfeddol yw gweithredoedd yr Arglwydd!

## 2. *Am Faintioli'r Cyrph Nefol.*

Y cyrph nefol sydd yn cael eu mhesur wrth eu cymharu â'r ddaear, maint pa un sydd yn awr yn hyspys. Ei thrwch yw 8 mil o filltiroedd agos; a'i hamgylchiad sydd dros 24 mil. Ac etto er cymmaint corph yw, y mae yn llai na'r cyrph nefol sydd yn ymddangos i ni, oddieithr ychydig o honynt, sef dwy neu dair o'r planedau. Nid yw trwch Mawrth ond llai na 5 mil o filltiroedd; gan hyny y mae 6 gwaith yn llai na'r ddaear. Trwch y lleuad yw 2170 o filltiroedd, ac am hyny y mae 40 waith yn llai na'r ddaear. Trwch y Merchur yw 4240 o filltiroedd, ac felly y mae agos i 7 waith yn llai na'r ddaear. Er bod y bydoedd hyn yn llai na'r ddaear, etto, y maent yn gyrph mawrion ynddynt eu hunain. Ond am y planedau eraill, nid yw'r ddaear ond bechan iawn wrthynt, oddieithr Gwener yr hon sydd yn ogymmaint. Y mae trwch Iou yn 10 trwch y ddaear, ac am hyny y mae yn fil o weithiau yn fwy na'r ddaear. Y mae yn fwy na dau can' mil o filltiroed o gwmpas: byddai ddyn 30 mlynedd yn rhoi tro o'i hamgylch, a thrafaelio 20 milltir bob dydd. Y mae trwch Sadwrn yn 7 trwch y ddaear, ac felly mae yn 6 cant o weithiau yn fwy na'r ddaear. Y mae gan Iou 4 lleuad, a Sadwrn 5 yn troi oddi oddi amgylch yn wastadol; ac nid oes ameu nad yw rhai o'r rhai'n, o'r hyn lleiaf, yn fwy na'r ddaear hon. Ond etto beth yw y rhai'n i gyd wrth yr haul, yr hon sydd yn fyd dirfawr o dân, ac yn ffynon o wres a goleuni, i'r holl fydoedd hyn sydd o'i hamgylch. Trwch yr haul gan yr hen bobl, oedd 5 trwch y ddaear; ac felly hithau yn 138 cymmaint a'r ddaear. Wedi hyny hi aeth yn 31 trwch y ddaear; ac felly ei chorph yn 31000 cymmaint a'r ddaear. Ar ol hyn, hi aeth yn 96 trwch y ddaear, a'i chorph yn 9 can' mil o weithiau yn fwy na'r ddaear.

Yr oedd y gwahaniaeth hyn rhwng yr hen bobl, a'r rhai diweddar, a'r gwŷr presenol, o herwydd bod gwell offerynau, a gwell ffordd gan y gwŷr diweddar i brofi'r peth. Y mae rhai yn tybied ei bod hi yn llawer mwy na hyn etto, ïe, yn 4 miliwn o weithiau yn fwy na'r ddaear. Er cymmaint yw'r haul, a'r bydoedd hyn sydd yn perthyn iddi, etto beth ydynt i gyd at holl ser y ffurfafen? Y mae'r ser i gyd yn fwy na bydoedd yr haul, a rhai o honynt fel y mae yn debygol, yn fwy na'r haul ei hun. Tybir fod pob un o honynt yn haul, a bod nifer o fydoedd yn troi oddi amgylch iddynt. Ac o bosibl, nid ein haul a'n bydoedd ni yw y rhai mwyaf. Yn awr pa beth a ddywedwn am yr holl gyrph hyn, a'u mhaintioli? Onid ydynt yn amlwg yn dangos meithder y nefoedd, a mawredd yr hwn a'i gwnaeth ac a'i creawdd?

## 3. *Am Feithder anfesurol y Nefoedd.*

Gan fod y cyrph nefol o'r fath faintioli, ac o'r fath nifer, ac hefyd o'r fath bellder oddi wrth eu gilydd; o ba fath feithder y mae yn rhaid i'r lle hyny fod, yn mha un y maent i gyd oll? Pe byddai yr haul, a'r holl blanedau, a'r cometau, yn un corph, ni byddai, wrth ei gymharu â'r meithder ag sydd rhyngom ni a ser y ffurfafen, ond llai na phen *pin* bach i filltir ysgwar. Ystyriwn, 1, Fod gan lawer o'r cyrph hyn gylchoedd a throion, os nad oes ganddynt i gyd oll. 2, Eu bod o'r fath bellder oddi wrth eu gilydd, fel nad ydynt yn croesi, yn rhwystro, nac yn tywyllu eu gilydd, oddieithr yr ail blanedau, neu'r lleuadau weithiau. 3, Eu bod, yn enwedig y rhan fwyaf o honynt, mor bell oddi wrthym ni, fel nad ydynt ond prin yn weledig, er eu bod yn gyrph rhyfeddol fawr a disglaer. Yn awr gan hyny y mae yn rhaid eu bod mewn ehangder mawr, cyn y gallont fod fel hyn. Y lleuad yw'r nesaf attom ni, ac eto y mae ei throgylch hi yn cynnwys 480 mil o filltiroedd o led, yr hyn y mae yn amgylchu bob mis. Y mae tro'r ddaear o ddeutu yr haul, yn cynnwys 162 miliwn o filltiroedd o led. Er cymmaint yw yr amgylchoedd hyn, etto nid ydynt yn dyfod yn agos at

yr un o'r planedau eraill, ïe, cyn agosed ag i daflu cysgod ar un o honynt, ac etto y mae cysgod y ddaear yn cyrraedd lawer yn mhellach na'r lleuad. *Pa feithder gan hyny yn awr, sydd raid ei fod gan y planedau uchaf? Y mae trogylch mawrth yn 246 miliwn o filltiroedd o led. Iou sydd a'i throgylch yn 848 miliwn o led. Sadwrn sydd a'i throgylch yn 1554 miliwn o filltiroedd o led. Y mae Gwener a Merchur yn sefyll yn nes na ni at yr haul, ac am hyny y mae eu cylchoedd yn llai. Lled trogylch Gwener yw 124 miliwn. A lled trogylch Merchur yw 66 miliwn. Yn awr pa beth a ddywedwn ni am yr holl ehangder a'r meithder hyn? Ac eto pa beth a ddywedwn ni am yr holl ser uchaf a'u mheithder, os ydynt i gyd fel hyn, wedi eu cyfleu yn mhell oddi wrth eu gilydd? Os ydyw pob un o'r ser gweledig yn haul, ac amryw fydoedd fel hyn mewn mawr ehangder, yn troi oddi amgylch iddynt, a allwn ni lai na chyhoeddi'r nefoedd yn anfesurol? Bwriwn gyda rhai gwyr dysgedig, fod *sirius* yn un o'r ser agosaf, gan ei bod yn ymddangos yn fwyaf. Y mae hi er hyny yn ymddangos, yn 27 mil o weithiau yn llai na'r haul, ac am hyny gynnifer o weithiau yn mhellach na'r haul. Pa beth etto a ddywedwn am bellder y ser bychain iawn, a'r miloedd o ser anweledig, ond trwy'r spien-ddrychau, a mwy fwy yn wastad trwy y rhai hyny, yn ol eu daioni?

## 4. *Ffordd arall i ystyried meithder y Nefoedd.*

Ni a allwn fwrw amcan am feithder y nefoedd, etto, wrth ystyried yr amser y byddai'r pethau cyflymaf, yn myned i fynu. Y mae bwlet canon yn chwimwth iawn, ac etto byddai 25 mlynedd yn cyrraedd yr haul. Byddai aderyn yn ehedeg can' milldir y dydd, dros ddwy fil o flynyddau yn myned yno. A dyn yn trafaelu 20 milltir y dydd dros 10 mil o flynyddau yn myn'd yno. Y mae Iou eto yn 4 pellach na'r haul, ac am hyny nid âi ddyn atto ef, dan 40 mil o flynyddau. Ond nid yw'r lleuad ond 240 o filoedd o filltiroedd oddi wrthym ni, ac am hyny gallai ddyn fyned atti hi mewn 30 mlynedd. Ond eto beth yw hyn i gyd, wrth bellder y ser sefydlog,

gan fod rhai gwyr dysgedig yn bwrw fod y rhai nesaf yn 27 mil o weithiau yn mhellach na'r haul? Byddai bwlet canon yn agos i 7 can' mil o flynyddau yn myn'd at y rhai nesaf o'r rhai'n: ac aderyn 15 miliwn o flynyddau: a dyn 60 miliwn o flynyddau. Ond os nad yw y ser sefydlog ond 7 can' miliwn o filltiroedd oddi wrthym ni, yn ol tyb Dr. Hook, a Mr. Flamsteed, yna ni byddai bwlet ond 5 mil o flynyddau, yn myned atynt. Yn awr ystyriwn, i ba fath feithder rhyfeddol ac anfesurol y mae'r goleuni yn rhedeg ac yn ymdaenu yn y ffurfafen, gan ei fod yn dyfod hyd attom ni oddi wrth y ser, ac yn rhedeg cymmaint a hyny eilwaith yn mhob ffordd arall.

### 5. *Casgliad oddi wrth feithder y Nefoedd.*

Yn awr wrth ystyried yr holl bethau hyn, a all un lai na chydnabod a chyfaddef, Fod y nefoedd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef? Yr ydym yn arfer rhyfeddu maint y ddaear hon, lle'r ydym ni, fel y gallwn ac y dylem yn wir; ond o'i chymharu â'r nefoedd, ac â rhai o'r cyrph nefol, gwelwn fel y mae yn myned yn ddim. Gan hyny, nac ymfalchiwn, am ein bod yn meddiannu rhyw gyfran o honi, eithr ymddiddyfnwn oddi wrthi, a pethau isod, a rhoddwn ein serch ar bethau uchod. Ystyriwn weithredoedd Duw yn y nefoedd, a rhyfeddwn ei berffeithrwydd, a gwasanaethwn ei Fawrhydi. Da y gallai Iesu Grist ddywedyd, (Ioan 14. 2.) Yn nhŷ fy Nhad y mae lawer o drigfanau.

---

## PEN. XXIII.

### *Am Rifedi y Cyrph nefol.*

WEDI ystyried maintiolaeth y nefoedd, a'r cyrph nefol yn y bennod o'r blaen, mi gaf yma eto ystyried eu rhifedi, gan fod hyny fel pethau eraill yn gosod allan allu, doethineb, a daioni Duw.

### 1. *Golwg gyffredin ar rifedi 'r Cyrph nefol.*

Gan fod y ser yn gyrph mor fawr ag y dangoswyd eu bod, buasai'n fawr ag yn rhyfeddol fod ond rhai o'r cyfryw, ond yn awr gan eu bod mor fawr, ac hefyd yn aneirif, pa beth a ddywedwn? Yr oeddynt yn ymddangos yn llawer iawn gynt, ond yn awr, er pan ddyfeisiwyd y Spien-ddrychau mawrion, y mae llawer i'w gweled am bob un o'r blaen. Yn y twr a elwir Orion yn unig, y mae dau cymmaint, medd rhai, o ser i'w gweled â'r Spien-ddych ag oedd o'r blaen yn yn amlwg yn yr holl ffurfafen. Yr ydys yn canfod yn awr, nad yw'r llain wen a elwir y Llwybr-Llaethog ond ser mân yn dra thrwion, ac megis yn cyffwrdd a'u gilydd. Y mae llawer iawn o ser o ddeutu pegwn y dehau, y rhai sy'n anweledig i ni. Yr oedd yr henafiaid yn cyfrif y ser yn 1026, a Hevelius eilwaith ar eu hol yn 1888; ond yn awr trwy'r Spien-ddrychau, y maent yn ymddangos yn aneirif. Y mae llawer iawn nad ydynt ond prin yn weledig trwy'r Spien-ddrychau diweddaraf, ac etto fel yr ydys yn gwneuthur Spienddrychau gwell, yr ydys yn canfod mwy fwy; ac am hyny pwy a wyr a ydys yn canfod y degwm, ie'r ganfed, ïe'r filfed ran o honynt? Onid mawr iawn gan hyny yw yr hwn a'u gwnaeth, ac a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau?

### 2. *Fod y Ser sefydlog yn Haulau a Bydoedd o Blanedau yn troi oddiamgylch iddynt.*

Er bod nifer y ser gweledig yn ddigon i ddangos mawredd y Creawdwr, etto y mae'r hyn a dybir gan lawer o ddoethion a dysgedigion yn yr oes hon, ac sydd hefyd yn dra thebygol, yn gosod allan ei berffeithrwydd yn llawer gwell, ac yn fwy godidog a rhagorol; sef fod pob un o'r ser sefydlog yn haul, a bod system, neu fydoedd o blanedau yn troi oddiamgylch iddynt, ïe, pob un o honynt. Y mae cryn reswm fod y ser sefydlog yn haulau: 1, Gan eu bod yn gyrph disglaer cymaint â'r haul, eithr yn ymddangos yn fach o herwydd eu pellder. 2, Gan eu bod yn llewyrchu trwy eu goleuni

eu hunain, ac nid trwy oleuni benthyg oddi wrth yr haul, fel y lleuad a'r planedau eraill. Yn awr os yw'r ser sefydlog yn gynnifer o haulau, yn sicr y maent er defnyddiau a gwasanaeth mawr yn y byd, ïe, llawer mwy na 'r hyn ydys yn gyffredin yn gyfrif iddynt. Tebygol yw eu bod yn gwneuthur gwasanaeth cynnifer o haulau. Ystyriwn, 1, Fod eu gwaith yn gwneuthur gwasanaeth cynnifer o haulau, yn llawer tebycach na'u bod yn unig i ni edrych arnynt y nos. Buasai un haul neu leuad, neu ddwy yn nes atom, yn rhoi i ni fwy o oleuni'r nos, na'r holl ser. Nid yw yn debygol, gan hyny, fod yr Arglwydd wedi gwneuthur cynnifer o gyrph mawrion, i fod er llai o wasanaeth nag y gallasai un fod. 2, Y mae'r cysondeb rhyfeddol ag sydd yn holl weithredoedd Duw, yn rhoi i ni achos i dybio fod pob un o'r ser sefydlog yn haul; canys yn sicr y mae yr haul yn seren i'r ser, fel y maent hwy iddi hi. Pe byddem ni yn sefyll ar un o'r ser sefydlog, byddai yr haul yn ymddangos i ni yn seren sefydlog, fel un o'r ser eraill, heb son am yr un o'r planedau, neu'r bydoedd hyn ag sydd yn eu hamgylchu. Yn awr gan ein bod ni yn sefyll mor agos at un o'r ser, sef yr haul, fel y gallwn ganfod 6 o fydoedd, neu brif-blanedau yn troi oddi amgylch iddi, pa ham nas gallwn dybio yn rhesymol, fod nifer yn troi oddi amgylch i bob un o honynt hwythau, sef y ser eraill? 3, Y mae'r hanes hwn eto yn cymmell ein derbyniad ni, am ei bod yn fwy addas a theilwng o Greawdwr anfeidrol na'r hen dyb am gynhwysdra a bychandra'r byd. Ac yma hefyd nid ydys yn cyfrif yn ol yr hen arfer, fod pob peth yn y byd, ïe, yn yr holl greadigaeth, wedi eu creu er mwyn dyn. Yma yr ydym yn cael golwg ardderchawg ar weithredoedd Duw, ar y byd mawr, ac ar y creadigaeth. A hyn sydd yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw y Creawdwr.

### 3. *Am Ser Newydd.*

Heblaw yr haul a'r planedau, a'r rhifedi rhyfeddol o ser sefydlog y sydd, y mae eraill a elwir ser newydd, y rhai sydd weithiau yn ymddangos, ac weithiau yn

myn'd ar goll, a hyny mewn amryw fanau o'r ffurfafen. Y mae'r peth yn dra rhyfeddol, ac yn cael ei ryfeddu gan y doethion, eithr y mae yn dangos gweithredoedd Duw yn anchwiliadwy. Yr ydys wedi dal sylw ar amryw bethau hynod mewn perthynas iddynt: 1, Eu bod megis yn newid eu lle, ac yn ymddangos weithiau yn nes, ac weithiau yn mhellach oddi wrth y ser eraill. 2, Eu bod yn mwyhau ac yn lleihau, o ran eu goleuni a'u mhaintiolaeth. 3, Eu bod megis yn cadw troion amserol, fel y mae un, yr hon sydd yn rhoi tro mewn 404 diwrnod. Nid ydys eto ond dechreu dyfod i ychydig o wybodaeth am y ser hyn.

### 4. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn-awr ystyriwn pa fath waith rhyfeddol yw y greadigaeth. Pa mor fawr yw'r byd. Pa gynnifer o gyrph mawrion sydd ynddo. Pa gynnifer sydd o ser sefydlog; a pha gynnifer all fod o fydoedd yn troi oddiamgylch pob un o honynt. Pa gynnifer rhyw o greaduriaid a all fod yn mhob byd. Ac yna pa ragluniaeth a raid i hono fod, sy'n gofalu am y cwbl; ac yna eilwaith, pa fath ffol, cyndyn, anystyriol a raid i'r dyn hwnw fod, na chydnabydda berffeithrwydd Duw wedi'r cwbl: ac hefyd na ofno, na chlodforo, ac na wasanaetho ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni.

---

## PEN. XXIV.

### *Am Gyflead y Cyrph nefol.*

WEDI son am rifedi y cyrph nefol, mi soniaf ychydig eto am eu cyflead, a'u pellder oddiwrth eu gilydd.

### 1. *Am iawn, yn gystal a mawr bellder y Cyrph Nefol oddiwrth eu gilydd.*

Er cynnifer sydd o gyrph nefol, er cymmaint yw pob un o honynt, ac er helaethed yw eu troad, etto y maent i gyd oll wedi eu trefnu a'u cyfleu felly, fel nad

oes un yn taro wrth y llall, nac yn dyfod gymmaint ag yn rhy agos i'w gilydd; ac etto nid ydynt yn rhy bell ychwaith, fel na b'o iddynt fod mewn golwg, nac yn ddefnyddiol i'w gilydd. Y mae hyn yn amlwg yn yr haul a'i phlanedau, ac nid oes achos i ameu nad yw'r un drefn yn bod yn mysg y ser uchaf. Ac yn awr onid yw trefn a chyflead o'r fath hyn, yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw 'r trefnwr?

## 2. *Am iawn Gyflead yr Haul a'i Phlanedau yn enwedigol.*

Y mae'r haul a'i phlanedau wedi eu cyfleu yn dra addas i'w gilydd, heb fod yn rhy bell, nac yn rhy agos. Os cyfrifwn fod y ddaear oddiwrth yr haul yn 10, bydd Merchur yn 4, a Gwener yn 7, a Mawrth yn 15, a Iou yn 51, a Sadwrn yn 95. Yr ydys yn cyfrif fod 10 mil trwch y ddaear rhyngom ni a'r haul, 4 rhwng Merchur, 7 rhwng Gwener, 15 rhwng Mawrth, 51 rhwng Iou, a 95 mil rhwng Sadwrn a'r haul. Nid oes ond 30 trwch y ddaear rhyngom ni a'r lleuad. Y mae trwch Iou yn 10 trwch y ddaear, ac er hyny, mae ei lleuad cyntaf agos yn 3 thrwch ef oddiwrtho; yr ail agos 5; y trydydd yn 7, a'r pedwerydd yn 12 trwch ef a rhagor. Ac etto nid ydynt yn ymddangos i ni trwy'r spien-ddrych, ond megis gronyn bach iawn oddiwrtho. Ac fel hyn y mae gyda 5 lleuad Sadwrn; ac am hyny pa beth yw meithder yr holl ffurfafen?

## 3. *Casgliad oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr pa beth a ddywedwn am yr holl bethau hyn? A allwn ni lai na rhyfeddu gallu, doethineb, a daioni Duw, yr hwn a gyfleodd mor addas a threfnus gynnifer o gyrph mor fawr? Nid oes achos i ammau nad yw pob un o'r Cyrph nefol wedi cael y lle mwyaf addas a chymhesur, fel y mae'r ddaear hon. Pa beth a ddywedwn etto, am y modd rhyfeddol y mae'r cyrph nefol yn cael eu cadw yn eu cylchoedd? O mor rhyfeddol y mae eu cyflymdra wedi eu cyfaddasu i'w pwys a'u sugn! Pe b'ai eu pwys lawer yn fwy, byddai iddynt

syrthio i mewn, a phe byddai eu cyflymdra lawer yn fwy, a'u pwys yn llai, byddai iddynt wibio ymaith. Rhyfeddol yw gwaith yr Arglwydd! Medd Job 9. 4. Y mae efe yn ddoeth o galon, ac yn alluog o nerth: pwy a ymgaledodd yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd? Doeth. 13. 1. Ofer yn ddiau yw'r dynion oll sydd heb adnabod Duw, heb fedru adnabod yr hwn sydd, wrth y pethau da a welir: ac ni adnabuant y gweithydd wrth ystyried y gwaith.

---

## PEN. XXV.

### *Am Gyffroad y Cyrph nefol.*

YN ol son am feithder a maintioli y nefoedd a'r cyrph nefol, ac hefyd eu rhifedi a'u cyflead, mi soniaf ychydig etto am eu cyffroad a'u rhediad.

### 1. *Fod Cyffroad y Cyrph nefol yn dangos ac yn profi fod Duw.*

Y mae llaw Duw yn amlwg i'w weled yma; os ystyriwn ond dau beth; sef fod cyffroad gan y cyrph nefol, ac hefyd ei fod mor gywir a chysson. 1, Y mae bod cynnifer o gyrph mawrion, yn troi oddiamgylch yn wastadol, yn dangos eu bod wedi cael y fath gyffroad oddiwrth ryw Un galluog ar y cyntaf, canys nis gallasent hwy byth byth ro'i cyffroad iddynt eu hunain. 2, Y mae cywir drefn a chyssondeb eu troad, yn dangos fod rhyw un doeth wedi rho'i cyffroad iddynt ar y cyntaf, fel y dangosaf yn rhagor yn yr adnod nesaf.

### 2. *Am gywir droad yr holl Gyrph nefol.*

Fel y mae cyffroad y cyrph nefol yn unig, ïe'r fath gyrph mawrion difywyd, y maent hwy yn dangos ei fod ef yn waith Duw; felly yn enwedigol y mae trefn a chywirdeb eu troad, yn dangos yr un rhyw i bob dyn ystyriol, rhesymol. Rhyfeddol yw eu bod yn troi oddiamgylch, a hyny yn y modd gorau i'r holl greaduriaid, ïe, yn wastadol, heb fyn'd oll allan o'u lle, ac

hefyd heb groesi nac attal eu gilydd; ïe, rhyfedd fod pob un yn troi mwy nac un ffordd; eithr yn wastad yn gyfattebol i achosion y byd mawr a'i drigolion! Onid yw'r fath waith yn dangos gallu, doethineb a daioni Duw, yr hwn a'i creodd; yn gystal ag y mae *clock* cywraint yn dangos celfyddyd a medr yr hwn a'i gwnaeth?

### 3. *Am dro diwrnodol y cyrph nefol.*

Y mae'n dra thebygol fod y ddaear, â'r cyrph nefol eraill, yn troi oddiamgylch yn wastadol ar eu pegynau eu hunain, eithr nid i gyd oll yn yr un amser: a'r tro hwn sydd yn gwneuthur diwrnod yn mhob un o'r bydoedd yma. Y mae'r tro yma yn amlwg mewn amryw o'r cyrph nefol, sef y bydoedd eraill, a thebygol iawn yw ei fod yn ein byd ninnau. Y mae'r haul yn rhoi tro ar ei phegynau ei hun mewn 25 diwrnod a pheth rhagor. Y mae'r tro hwn yn amlwg oddiwrth fannau hynod o amryw fath sy'n ymddangos o hyd ynddi wrth droi, eithr yn wastad yr un rhai yn mhen hyny o amser. Diamnau fod y tro hyn mor angenrheidiol, ac mor ddefnyddiol i ryw ran neu ragor o'r greadigaeth, ag yw tro'r ddaear i ninau. Er bod yr haul gyd o amser yn dyfod a'i thro i ben, o herwydd ei mhaint, etto y mae yn troi yn dra buan, ïe, yn llawer cynt na bwlet canon. Y mae yr haul o ddeutu 2 filiwn a haner o filltiroedd o amgylchiad, ac yn rhoi tro mewn 25 diwrnod a 6 awr, ac am hyny, y mae yn troi 4262 o filltiroedd bob awr, yr hyn sydd yn fwy na phedwar cynt na'r ddaear. Ac nid yr haul yn unig sydd yn rhoddi y tro hyn, eithr yr holl blanedau wrth bob tebygoliaeth. Y mae Sadwrn yn wir mor bell oddiwrthym, fel nad ydym yn gallu dirnad a ydyw'n troi fel hyn neu beidio; ond nid oes fawr achos i ammau'r peth, gan fod y tro hwn mor angenrheidiol yn Sadwrn ag un arall. Y mae'r tro hwn yn amlwg yn Iou bob 9 awr a 56 munud. Dyma dro diwrnodol Iou, ac mae'n rhaid ei fod yn troi yn dra buan, gan ei bod yn llawer mwy na'r ddaear, ac etto yn troi oddiam-

gylch ar ei phegynau ei hun mewn llai o amser. Y mae'n troi yn llawer cyflymach na bwlet canon. Y mae Iou yn 10 trwch y ddaear, ac am hyny o ddeutu 250 mil o filltiroedd o gwmpas, a chan ei bod yn rhoi tro mewn llai na 10 awr, y mae'n troi oddeutu 25 mil o filltiroedd bob awr, ac felly, agos i haner mil o filltiroedd bob munud. Ond nid yw'n daear ni yn troi ond mil o filltiroedd bob awr. Y mae Iou, gan hyny, yn troi agos 30 cyflymach na ni, ac yr ydym ni yn troi yn llawer cyflymach na bwlet canon, yr hon ni red uwch 300 o filltiroedd mewn awr, neu 5 milltir mewn munud. Y mae Mawrth yn rhoi tro mewn 24 awr a 40 munud. Nid ydym yn deall etto mewn pa faint o amser y mae Gwener a Mercher yn troi. Ac etto am y ddaear, y mae'n amlwg ei bod yn rhoi tro bob 24 awr, neu yntau yr holl gyrph nefol yn yr un amser; a pha un sy'n debyccaf, mi a adawaf ar ystyriaeth pob dyn. Y mae Mr. Whiston yn meddwl, mai blwyddyn, oedd diwrnodau'r greadigaeth, ac mai ar y cwymp, y cafodd y ddaear ei thro diwrnodol. Os yw'r ddaear yn sefyll yn llonydd, a'r haul a'r planedau a'r ser yn yn troi oddiamgylch bob dydd, yna mae'r haul yn rhedeg mwy nag 20 miliwn o filltiroedd bob awr, neu 300 mil bob munud, a ser y ffurfafen lawer miliwn bob munud. Ië, pe ba'i un yn trafaelio miloedd o filltiroedd bob dydd, ni thrafaeliai mewn mil o flynyddau, yr hyn y mae'r ser yn drafaelio mewn munud, yn enwedigol rai o honynt. Y maent yn rhedeg llawer cymmaint a mil o droion oddeutu 'r ddaear mewn munud. Yn awr y mae'r rhediad hwn yn fwy nag y gall dyn ei ddychymygu na'i ddirnad; gan hyny, mae yn debyg, fod y ddaear yn rho'i tro ar ei phegynau ei hun bob dydd, i arbed y troion annirnadwy hyn, a bod yr haul a'r ser yn sefyll yn llonydd. Ond pa un bynag sydd, y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn amlwg.

### 4. *Casgliad oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr, ystyriwn pa mor rhyfeddol y mae'r cyrph nefol yn troi; pa fath nerth sy'n gofyn fod i droi cyrph

o'r fath faint mor ebrwydd; ac hefyd i droi cynnifer o honynt; ac hefyd, ystyriwn pa mor fuddiol ac angenrheidiol yw'r tro hwn ynddynt. Pe na byddai'r tro hwn, ni byddai dydd a nos yn dilyn eu gilydd. Byddai'r naill wyneb i bob un o'r bydoedd yma, sef y planedau, yn wastad yn ddydd dros hir amser, ac felly yn cael ei losgi gan yr haul; a byddai'r wyneb arall yn fferdod ac yn dywyllwch aethus gwastadol dros yr unrhyw amser: eithr yn awr y mae'r naill a'r llall, wedi cael eu rhagflaenu gan y tro diwrnodol. Y mae dydd a nos, goleuni a thywyllwch, gwres ac oerfel, amser i weithio ac i orphwys yn canlyn eu gilydd yn wastadol. Yn awr onid yw gallu, doethineb a daioni Duw yn ymddangos yma? ac oni ddylai ei holl greaduriaid rhesymol ef ei ryfeddu, ei glodfori, ei addoli, a'i wasanaethu?

## 5. *Am dro blynyddol y Cyrph nefol, neu'r Planedau.*

Heblaw tro diwrnodol y cyrph nefol ar eu pegynau hunain, y mae ganddynt hefyd dro blynyddol oddiamgylch yr haul, yr hyn sy'n gwneuthur haf a gauaf ynddynt, fel y mae tro arall yn gwneuthur dydd a nos. Y mae Mercher yn rhoi tro mewn chwarter blwyddyn. Gwener mewn 7 mis a haner. Y ddaear a'i lleuad mewn blwyddyn. Mawrth mewn llai na 2 flynedd. Iou mewn 12. A Sadwrn mewn 30 agos. Yn awr ystyriwn pa mor angenrheidiol yw haf a gauaf, ac am hyny pa mor ddoeth yw'r tro hwn? Nid am ein bod ni yn nes at yr haul yn unig, sydd yn gwneuthur ei wres yn fwy; canys y mae'r ddaear yn llawer nes at yr haul y gauaf na'r haf, fel y mae'n troi yn gynt gan fod ei chwmpas yn llai; ïe, y mae haner blwyddyn yr haf, yn fwy na haner blwyddyn y gauaf, o gymmaint ag 8 neu 9 diwrnod; eithr hefyd y mae gwres yr haul yn mwyhau, fel y b'om ni yn sefyll yn gymmwys yn ei chyfer, neu gyferbyn a hi. O rhyfeddwn, clodforwn, a gogoneddwn allu, doethineb, a daioni Duw.

### 6. *Am dro blynyddol yr ail Blanedau neu'r Lleuadau.*

Wedi son ychydig am droion y prif blanedau, mi soniaf ychydig etto am droion yr ail-blanedau, neu'r lleuadau. Y mae un gan y ddaear, a 4 gan Iou, a 5 neu ragor gan Sadwrn. Y mae'r lleuadau hyn yn troi oddeutu eu prif-blanedau yn wastadol. Y maent yn rhoi tri math o dro, o'r lleiaf ein lleuad ni, Un ar eu pegynau eu hunain; un oddeutu eu prif-blanedau; ac un gyda'u prif blanedau oddeutu'r haul. Ond wrth eu tro blynyddol, yr wyf yn deall eu tro oddeutu eu prif blanedau, yr hyn hefyd sy'n gwneuthur eu dyddiau. Y mae ein lleuad ni yn rhoi tro mewn mis. Y mae'r gyntaf o leuadau Iou yn rhoi tro mewn llai na dau ddiwrnod. Y llall mewn tri a hanner. Y drydedd mewn mwy nag wythnos. A'r bedwaredd mewn ychydig llai na 17 diwrnod. Yn gyffelyb i hyn y mae gyda lleuadau Sadwrn.

### 7. *Am gyflymdra'r cyrph nefol, neu'r Planedau yn eu tro oddeutu'r Haul.*

Y mae pob un o honynt yn eu tro oddeutu'r haul yn dra chyflym, er eu bod cy'd yn dyfod a'r tro i ben, o herwydd ei feithder. Y mae Gwener yn troi 2 cant o weithiau yn gynt na bwlet. Y mae'r ddaear oddeutu'r haul yn troi 933 milltir mewn mund, a 56000 mewn awr. Y mae bwlet yn rhedeg yn dra buan, ac etto byddai agos 4 diwrnod yn rho'i tro oddeutu'r ddaear. Y mae Iou, er ei bod 12 mlynedd yn rho'i tro oddeutu'r haul, etto yn rhedeg agos gant o weithiau yn gynt na bwlet. Yn awr gan fod Iou yn fil o weithiau yn fwy na'r ddaear, pa fath nerth sy'n rhaid fod i'w daflu ef cyn gynted? Mae'n rhaid fod y nerth sy'n troi Iou fel hyn, yn filoedd o weithiau yn fwy na'r nerth a allai daflu 'r ddaear hon cyn gynted a bwlet canon. Yn gyffelyb i hyn y mae 'r planedau neu 'r bydoedd eraill. Gellir bwrw cyflymdra yr holl gyrph nefol, wrth ystyried eu hamser a'u cwmpas. Ystyriwn, rhyfeddwn a gwasanaethwn yr Arglwydd.

## 8. *Am gysondeb troion y cyrph nefol.*

Y mae gwaith y ddaear a'r cyrph nefol yn troi i gyd oll, yn enwedigol eu gwaith yn troi mor gyson ac mor drefnus, yn dangos eu bod yn waith Duw. Ac hefyd y mae'n rhaid bod yr un llaw yn eu cadw, ac yn eu cynnal dros gynnifer o oesoedd, yn yr un cyffroad, cyssondeb, a threfn. Pa waith erioed o eiddo dyn er cywreinied, a safai ac a barhâi heb fyned oll allan o'i le?

## 9. *Am y Cometau, neu'r Ser Cynffonog.*

Y mae etto fath o ser a elwir cometau, neu ser cynffonog, y rhai sy'n troi oddeutu'r haul fel y planedau, ond eu bod yn troi mewn math o gylchoedd hirfeinion, ac am hyny, weithiau yn agos iawn at yr haul, fel y maent yn cael eu berwi ganddi, yr hyn sy'n gwneuthur y gynffon i'n golwg ni; a phrydiau eraill yn mhell iawn oddi wrthi, ac allan o'n golwg ni yn gwbl. Tybia rhai fod y ser hyn er rhyw faeth i'r haul. Tybia eraill eu bod yn lleoedd o gospedigaeth, gan eu bod un tro yn cael eu llosgi gan wres, a thro arall yn cael eu rhewi gan oerfel. Yr ydys wedi cael allan dro tair o'r cometau, sef un yn y flwyddyn 1682, yr hon sy'n rhoi tro mewn 75 o flynyddau. Eilwaith un yn y flwyddyn 1661, yr hon sy'n rho'i tro mewn 129 o flynyddau. Ac eilwaith un yn y flwyddyn 1680, yr hon sy'n rhoi tro mewn 575 o flynyddau. Yn mhen yr amseroedd hyn yr ydym yn tybied yr ymddangosant eto, os pery 'r byd. Rhagluniaeth yr Arglwydd yw, nad yw 'r bydoedd hyn yn taro wrth rai o'r llaill ryw bryd, wrth neshau neu bellhau oddiwrth yr haul, gan eu bod megis yn myn'd heibio i amryw o honynt, ac yn rhoi tro o fewn i'w terfynau. Y seren gynffonog fawr yn y flwyddyn 1680, oedd 166 o weithiau yn nes at yr haul na'n daear ni, ac am hyny yr oedd ei gwres yn 28 mil o weithiau yn fwy na gwres haf. Pe buasai bel o haiarn cymmaint a'r ddaear, yn cael ei thwymo felly, ni buasai hi ddim yn oeri dan 50000 mil o flynyddau. Gellir tebygu gan hyny am y cyfryw

leoedd os ydynt oll i'w trigfanu, a'u cyfaneddu, eu bod wedi eu gosod a'u hamcanu gan yr Arglwydd, i fod yn lleoedd o gosp, yn hytrach na dim arall. Y comet hon yn ei disgyniad at yr haul, medd Mr. Whiston, a ddaeth heibio 'r ddaear yn agos, yn amser y diluw, ac a fu yn achos o hono: a hon eto ryw amser yn ei hesgyniad oddiwrth yr haul a fydd yn achos o'i llosgi. Y mae un Mr. Swinden wedi gosod llyfr allan yn ddiweddar, y'nghylch lle a natur uffern, yn mha un y mae yn dangos y gall hi fod yn yr haul, gan fod yr haul, yn sicr, yn fyd dirfawr o dân, a'r lle isaf o fewn ein *System* ni. Yr ydym yn tybied fod yr haul a'i phlanedau trwy eu sugn, yn tynu ac yn neshau pethau at eu gilydd yn wastadol, ac os felly, bydd iddynt yn y diwedd gael eu llosgi ganddi, bob un o honynt, os caiff y byd barhau cyd gan yr Arglwydd. Y mae hyn yn dangos fod y byd wedi cael dechreuad, ac hefyd i gael diweddiad.

## 10. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Weithian pa beth a feddyliwn, a pha beth a ddywedwn am yr holl bethau hyn? Onid rhyfeddol yw gweithredoedd yr Arglwydd? Onid mawr yw ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni? Onid yw y cyfryw un i'w ofni, i'w garu, a'i wasanaethu? Oni allwn ni ddywedyd gyda'r Salmydd, (Ps. 145. 9—13.) Daionus yw yr Arglwydd i bawb: a'i drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd. Dy holl weithredoedd a'th glodforant, O Arglwydd; a'th saint a'th fendithiant. Dywedant am ogoniant dy frenhiniaeth; a thraethant dy gadernid. I beri i feibion dynion adnabod ei gadernid ef, a gogoniant ardderchawgrwydd ei frenhiniaeth. Dy frenhiniaeth di sydd frenhiniaeth dragywyddol: a'th lywyodraeth a bery yn oes oesoedd? A chyd â'r Eglwys, (Galar. 3. 22, 23.) Trugareddau yr Arglwydd yw na ddarfu am danom ni. O herwydd ni phalla ei dosturiaethau ef. Bob boreu y deuant o newydd: mawr yw dy ffyddlondeb?

# PEN. XXVI.

## *Am Ddull a Llun y cyrph nefol.*

AR ol son am gyffroad y cyrph nefol, mi ddeuaf i son ychydig etto am eu dull, a'u llun, gan fod gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yma fel mewn pethau eraill.

### 1. *Am gyssondeb yr holl gyrph nefol o ran eu Llun.*

Y mae'r holl gyrph nefol, yn gysson o ran eu llun, sef yn, grynion hyd y gallwn ni wybod. Y mae'r ddaear yn gron; a'r haul yn gron, yn ymddangos i ni, ac felly yr un modd yr holl ser a'r planedau. Yn awr y mae'r llun a'r dull hyn yn fwyaf addas, ac yn oreu ar lawer cyfrif, a hyny o ran eu troion, ac hefyd o ran eu holl achosion eraill, yr hyn sydd yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw yn y peth.

### 2. *Am Fynyddoedd ac Anwastadrwydd y Ddaear a'r Lleuad.*

Y mae'r ddaear a'r lleuad yn llawn mynyddoedd a dyffrynoedd, ac felly, wrth bob tebygoliaeth, y mae'r bydoedd eraill, ond nid yw ein Spien-ddrychau ni yn gallu cyrraedd golwg graff arnynt: eto er hyn i gyd, er bod peth anwastadrwydd yn eu hwynebau, gellir yn hawdd eu cyfrif yn grynion, gan nad yw anwastadrwydd y mynyddoedd a'r dyffrynoedd, i faint y cyrph nefol, ond fel llwch ar wyneb bwl. Y mae 'r ddaear yn mron 8 Mil o filldiroedd o drwch, eithr nid yw uchder ei mhynyddoedd uchaf ond 3 neu 4 o filldiroedd. Y mae mynydd Eryri yn Sir Gaernarfon, yr uchaf yn Nghymru, yn agos i filltir o uchder. Y mae mynyddoedd yr *Alps*, yn Italy yn agos i 2 a haner: ond y mae mynyddoedd *Peru* a *Chili* yn America, sef yr *Andes*, yn 3 neu 4 milltir o uwchder; ac fel hyn hefyd o bosibl y mae amryw eraill yn y byd. Ond eto beth yw hyn at drwch y ddaear? Felly eilwaith am y Lleuad, ei thrwch yw 2170 o filltiroedd; ond nid

yw'r mynyddoedd uchaf sydd ynddi uwch 3 milltir o uchder. Gellir mesur uchder mynyddoedd y lleuad trwy 'r Spien-ddrychau, wrth hyd eu cysgodau. Yn awr beth yw 3 milltir at 21 cant, ond fel careg ar ben mynydd?

### 3. *Casgliad oddiwrth y pethau hyn.*

Ystyriwn yn awr y modd y mae rhagluniaeth Duw yn ymddangos yn yr holl bethau hyn. Dull crwn sy'n oreu i'r cyrph nefol ar lawer cyfrif: dull crwn sydd fwyaf cynhwysfawr; ac hefyd i gorph yn troi, y mae'n oreu o ran cydbwysiad: dull crwn sydd oreu o ran dydd a nos, a gwres ac oerfel: dull crwn sydd oreu o ran goleuni a thywyllwch: dull crwn sydd oreu o ran gwynt, a gwlaw, a chymylau, ac amryw achosion y byd. Yn awr gwelwn gan mai dull crwn sydd oreu, mai dyma ddull a llun yr holl gyrph nefol. Eilwaith, er bod yn grynion, ni buasai 'r cyrph nefol yn goleuo eu gilydd yn iawn, oni buasai bod eu gwynebau ychydig yn arw ac yn anwastad. Nid yw peth llyfn fel gwydr, yn taflu pelydr ond naill ffordd. Yn awr gan fod y cyrph nefol yn y modd goreu o ran pob peth, onid yw hyny yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw eu creawdwr, a'n dyled ninau i'w ryfeddu a'i wasanaethu?

---

## PEN. XXVII.

### *Am Bwys a Sugn y cyrph nefol.* (Gravity.)

WEDI son am droion y cyrph nefol, ac hefyd eu cyffroad, y'nghyd a'u dull a'u llun, myfi a soniaf ychydig etto am eu pwys a'u sugn, gan nad yw gallu, doethineb, a daioni Duw ddim yn fwy anamlwg yma nag mewn pethau eraill.

### 1. *Am angenrheidrwydd Pwys a Sugn y byd.*

Fel y darfu i bwys a sugn wrth bob tebygoliaeth, ddyfod a'r ddaear a'r cyrph nefol ar y cyntaf y'nghyd, a'u sefydlu yn y llun y maent, felly hefyd y mae pwys a sugn yn eu cadw ac yn eu cynnal byth yn eu lle.

## 2. *Pwys a Sugn yn cadw 'r holl fydoedd rhag ymddryllio.*

Fel y mae pob corph yn troi ar ei begynau ei hun yn taflu oddi wrtho ei hun yn wastadol, gyda nerth mawr, cyfattebol i gyflymdra ei droad; megis olwyn yn taflu dwfr neu lwch oddi wrthi wrth droi; felly y mae pwys a sugn pob un o'r cyrph nefol, yn tynu yn wastad atto ei hun, ac yn cadw y cwbl y'nghyd. Y mae'r nerth hwn, sef y sugn, yn wastad yn fwy na 'r llall yn yr holl gyrph nefol. Y mae hyn yn rhagddarbod, ac yn rhagluniaeth ryfeddol, gogyfer a chynnal yr holl gyrph nefol i fynu a'u cadw y'nghyd, fod eu sugn-nerth yn fwy na'i gwth-nerth. Nid yw Gwth-nerth neu dafliad y ddaear, er ei bod yn troi mil o filltiroedd bob awr, i'w sugn-nerth, ond fel un i ddau cant agos. Eilwaith, nid yw gwth-nerth neu dafliad yr Haul, er ei bod yn troi 4 mil o filltiroedd bob awr, i'w sugn-nerth ond fel un i 47 mil. Ond beth yw hyn i gyd at wth-nerth neu dafliad Iou, yr hon sy'n troi 25 mil o filltiroedd yr awr, ac etto yn cael ei chadw y'nghyd, gan fod ei sugn-nerth yn fwy, sef fel un i 9. Yr ydys yn meddwl fod y cyrph nefol, pa bellaf oddiwrth yr haul, yn deneuach eu defnydd

## 3. *Pwys a Sugn yn cadw yr holl Blanedau yn eu cylchoedd.*

Y mae pwys a sugn pob defnydd, yn gwneuthur gwasanaeth rhyfeddol yn y byd, trwy gadw yr holl blanedau yn eu cylchoedd. Y mae hyn yn rhyfeddol iawn, sef fod cyffroad a nerth pob planed, yn gyfattebol i'w phwys a'i sugn, neu ei chwymp at yr haul, neu ei phrif-blaned. Pe buasai'r naill yn llawer mwy na'r llall, buasai'r planedau yn myned ymaith, neu yn syrthio i mewn. Eithr yn awr gan fod eu cyffroad a'u cwymp yn gyfattebol, y maent yn cael eu cadw yn dra rhyfeddol yn eu hamryw leoedd. Ac os yw'r cometau a'u cyffroad, a'u pwys yn a'nghyfattebol, ac am hyny yn gwneuthur cylchoedd hir-feinion, etto yn ddiammeu, y mae hyny er defnyddiau a dibenion ang-

enrheidiol, pa un bynag eu bod yn lleoedd o gospedigaeth, neu ynteu er maeth a chynnaliaeth i'r haul fel y tybia rhai.

### 4. *Casgliad oddiwrth y pethau hyn.*

Yn awr onid yw'r fath Greawdwr galluog, doeth, a daionus, i'w ryfeddu, i'w garu, a'i wasanaethu? Oni allwn ni ddywedyd gyda Elihu. (Job 37. 23, 24.) Am yr Hollalluog ni allwn ni mo'i gael ef: ardderchawg yw o nerth, a barn a helaethrwydd cyfiawnder; ni chystuddia efe. Am hyny yr ofna dynion ef: nid edrych efe ar neb doeth eu calon.

---

## PEN. XXVIII.

### *Am Oleuni a Gwres yr Haul.*

WEDI son am faint, a rhif, a chyflead, a chyffroad, a llun, a phwys y cyrph nefol, mi ddeuaf etto weithian, i son ychydig am eu goleuni a'u gwres.

### 1. *Am Oleuni a Gwres yr Haul a'r Ser.*

Fel y mae goleuni a gwres yn ddau beth angenrheidiol iawn yn y byd, felly y mae y Creawdwr doeth wedi gwneuthur rhagddarbod rhyfeddol am danynt yn mhob lle. Y mae pob un o'r cyrph nefol yn ein golwg ni, yn llewyrchu, naill ai â'u goleuni eu hunain, neu oleuni benthyciol. Y mae'r ser sefydlog, fel y tybir, yn gynnifer o haulau; ac felly, yn gynnifer o ffynhonau o oleuni a gwres; ac y maent yn taflu ac yn tywallt peth o'u goleu hyd attom ni, i bellder anfesurol. Nid ydyw y planedau ond cyrph tywyll o honynt eu hunain, eithr y maent yn dra rhyfeddol yn derbyn goleuni yr haul, i'w defnydd a'u gwasanaeth eu hunain yn gyntaf, ac wed'yn, yn ei dywallt ymmaith attom ni ac eraill. Pa fath ffynnon ryfeddol o wres a goleuni yw'r haul! Pa mor fawr yw! Pa mor ddoeth yw ei chyflead! A pha mor fuddiol yw ei heffeithiau, a'i chynneddfau i'w

holl blanedau! Y mae ei goleuni yn dân, neu ynteu yn dwyn llawer o dân gyd âg ef, gan y llysg cymmaint o hono ac a ddisgyno ar 3 modfedd o losg-wydr amryw bethau yn ebrwydd; eithr cymmaint o hono, ag a ddisgyno ar 3 troedfedd, a lysg yn gryfach na dim tân daearol. Mi a welais losg-wydr enwog Syr Isaac Newton, yr hwn oedd cymmaint ag olwyn Troell nyddu, ac a losgai un rhyw beth mewn ychydig funudau. Yn awr od oes cymmaint a hyn o dân mewn ychydig o'r awyr, pa faint sydd yn yr holl ffurfafen? Ac eilwaith, pa faint o dân sydd yn yr haul, yr hon sydd yn tywallt cymmaint o dân allan yn wastadol, dros gynnifer o oesoedd.

## 2. *Am Gyflead yr Haul.*

Gan mai yr haul yw ffynnon gwres a goleuni'r ddaear hon, a'r holl fydoedd eraill sydd yn troi oddi amgylch iddi; gwelwn pa mor addas y mae wedi ei chyfleu yn y canol. Nid yw na rhy bell, na rhy agos attom ni. Buasai yn anghysurus arnom, pe buasem yn nes neu yn mhellach oddi wrthi. A diammeu genyf am y bydoedd eraill, ag sydd yn nes neu ymhellach oddi wrthi na ni, eu bod wedi eu cymhwyso a'u cyfaddasu yn rhagorol i'r lleoedd hyny, sef y pellder neu'r agosder hyny. Y mae pwys, gwres, a goleuni yn wastad yn mwyhau neu yn lleihau, yn gyfáttebol i bellder neu agosder pethau.

## 3. *Am angenrheidrwydd Goleuni, a'r modd y mae'r Awyr yn ei dderbyn ac yn ei drosglwyddo.*

Y mae goleuni mor angenrheidiol yn y byd hwn, ac hefyd wrth bob tebygoliaeth, yn y bydoedd eraill, fel nas gall dyn, nac un creadur arall fyw yn iawn hebddo. Y mae yr awyr yn ei dderbyn y dydd, ac yn ei ollwng atom; a'r nos hefyd, y mae yn taflu pelydr yr haul atom, yn enwedigol, hwyr a borau. Ac awyr fel hyn sydd o ddeutu'r lleuad; canys pan fo cwbl dywyllwch ar yr haul, fel y bu yn y wlad hon, yn ddiweddar, amryw weithiau, bydd cylch rhuddgoch i'w weled o ddeutu'r

lleuad, yr hyn a wneir gan ei hawyr, fel y tybia y dysgedigion.

### 4. *Am wasanaeth y Lleuad i ni; ac hefyd y Bydoedd i'w gilydd.*

Wedi son am angenrheidrwydd goleuni yr haul, a gwasanaeth yr awyr, mi soniaf ychydig eto am y pethau y mae yr Arglwydd wedi eu parotoi, gogyfer a chyflawni diffyg ac absenoldeb yr haul, sef y lleuad a'r ser, y rhai fel y dywed Moses, sydd yn llywodraethu'r nos. Pa effeithiau bynag a all fod gan y rhai'n ar bethau daearol, y mae yn ddiammeu eu bod er llawer o wasanaeth iddynt, yn enwedigol y lleuad. Y mae'r lleuad yn gwneuthur llawer o gymwynasau, a gwasanaeth i ni, trwy ei goleuni, a'i diffygiadau, a'i thro misol. Ac fel y mae'r lleuad yn gwneuthur gwasanaeth i'r ddaear hon, felly yr un modd y mae'r ddaear hon yn gwneuthur gwasanaeth iddi hithau, gan fod fel lleuad iddi. Naill ai goleuni ei hawyr, neu ynteu oleuni'r ddaear yn taro arni, yw goleuni llwyd tywyll yr hen leuad yn nghol y newydd, os nad pob un o'r ddau. Ac fel hyn hefyd, mewn mesur, y mae'r holl fydoedd yn gwasanaethu eu gilydd. Pa mor wych y mae Iou a Gwener weithiau, yn cyflawni eisiau ac absenoldeb y lleuad? Ië, y mae nid yn unig y lleuad, a'r prif-blanedau, a'r ser yn gwneuthur gwasanaeth i ni, eithr hefyd yr ail-blanedau, megis lleuadau Iou, trwy ba rai y gallwn gael *Longitude,* sef gwybod pa mor belled y byddwn tua'r Dwyrain neu'r Gorllewin, wrth drafaelio neu forio o gwmpas y byd. Yn awr onid yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yma; sef yn ei waith yn cymhwyso, ac yn cyfaddasu yr holl fydoedd i fod er gwasanaeth eu gilydd? Onid yw'r fath Greawdwr i'w ryfeddu, i'w ofni, i'w garu, ac i'w wasanaethu?

### 5. *Am Leuadau y Prif-blanedau yn gyffredinol.*

Wedi ystyried y parotoad a'r rhagddarbod ag sydd, gogyfer a goleuo a gwresogi'r ddaear, bydded i ni eto

gymmeryd golwg ar y bydoedd eraill, ac ystyried a oes y cyfryw ragddarbodaeth mewn perthynas iddynt hwythau. Yma eto y mae gofal a doethineb y Creawdwr yn ymddangos fel o'r blaen. Y mae lleuadau amryw gan y planedau uchaf, gan eu bod yn sefyll mor bell oddi wrth yr haul, ffynnon gwres a goleuni ei holl fydoedd. Y mae yn bosibl fod lleuadau gan y planedau eraill, er nad ydym yn gallu eu canfod. Y mae gan Iou 4 lleuad, a chan Sadwrn 5 neu ragor, fel y clywsoch o'r blaen. Yn awr y mae hyn yn wasanaethgar iawn i'r bydoedd yma, a hyny nid yn unig o herwydd eu pellder oddi wrth yr haul, eithr hefyd cy'd yw eu tro blynyddol, ac hefyd o herwydd yr hir nos, a'r tywyllwch, ag sydd tu ag at eu hochrau a'u pegynau, a hwythau hefyd yn fydoedd mor fawr! O rhyfeddwn, clodforwn, a gogoneddwn allu, doethineb, a daioni Duw.

### 6. *Am Leuadau, Dyddiau a Thymhorau Iou.*

Y mae Iou yn 343 miliwn o filltiroedd yn mhellach oddi wrth yr haul na ni, ac am hyny y mae gwres a goleuni'r haul yn 27 waith yn llai yno na chyda ni: ac hefyd y mae'r haul o ran ei mhaint, yn ymddangos yno 5 waith yn llai na chyda ni. Y mae gwyneb Iou hefyd yn gan' waith yn fwy na gwyneb y ddaear hon. Yn awr oni b'ai rhagluniaeth a rhagddarbod rhyfeddol, byddai llawer o wledydd mewn tywyllwch gwastadol; eithr yn awr y mae'r peth yn rhagorol wedi ei ragflaenu, a hyny mewn dwy ffordd yn enwedigol; sef yn gyntaf, Trwy ei mynych droad ar ei phegynau ei hun; ac hefyd yn ail, Trwy rifedi ei lleuadau. Y mae Iou yn wastad yn rho'i tro mewn 10 awr; ac felly os yw'r goleuni a'r gwres yn fychan, eto y maent yn dychwelyd yn fynych ac yn ebrwydd, gan nad yw'r dydd a'r nos ond 5 awr bob un. Ac hefyd y mae gwylltineb a chyflymdra ei throad ond odid, yn ychwanegu llawer at ei gwresogrwydd. Y mae ei thymmorau hi yn fwy, sef ei Hâf a'i Gauaf yn 6 blynedd bob un. Eithr yr ydys yn tybied nad oes fawr o Haf na Gauaf ynddi, gan nad yw yn osgoi fawr tua'r Dehau na'r Gogledd, ond bod ei thro diwrnodol, agos yr un ffordd â'i thro

blynyddol. Eilwaith, y mae gan Iou 4 o leuadau i'w goleuo er nad oes genym ni, sy'n nes at yr haul, ond un. Y'nghylch y lleuadau hyn, ni a ystyriwn 4 peth. 1, Eu mhaint, yn gymmaint, o bosibl, a'r ddaear hon. 2, Eu goleuni yn fawr iawn, gan eu bod yn weledig i ni. 3, Eu pellder oddi wrth Iou ac oddi wrth eu gilydd, yr hyn sydd mewn modd gelfyddol iawn. Pan fyddo un o honynt yn goleuo un man, bydd y llall yn goleuo man arall; ac fel y bydd un yn myn'd, bydd y llall yn dyfod, fel nad oes un rhan o Iou, un amser heb oleuni a phresenoldeb un neu ragor o honynt. 4, Eu gwaith yn osgoi, fel y b'o iddynt oleuo pegynau ac ochrau Iou, bydd rhai o honynt hefyd, yn aros yn hwy nac eraill, ac fel hyn y mae Iou yn cael ei goleuo mewn modd rhyfeddol iawn. Molwch yr Arglwydd.

### 7. *Am Leuadau, Dyddiau a Thymmorau Sadwrn.*

Wedi gweled y rhagddarbod rhyfeddol ag sydd yn Iou, yn lle ei bod yn mhell oddi wrth yr haul, gadewch i ni eto gymmeryd golwg ar Sadwrn, yr hon sydd yn fwy na 300 miliwn o filltiroedd yn mhellach oddiwrth yr haul na Iou; ac agos yn 700 miliwn yn mhellach na ni. Ac yma yn y lle cyntaf, y mae 5 neu ragor o leuadau. Diammeu fod y lleuadau hyn yn fydoedd mawrion, o bosibl yn fwy na'r ddaear hon, gan eu bod yn weledig i ni, a hwythau yn sefyll mor bell oddi wrthym. Am droad y rhai hyn oddi amgylch Sadwrn, y mae yn gyffelyb i droad lleuadau Iou; fel y mae Sadwrn yn mhob lle yn cael ei goleuo yn y modd goreu. Peth arall ag sydd yn perthyn i Sadwrn yn unig, ac nad yw i'w weled mewn un lle arall, ac hefyd sydd yn dra rhyfeddol, yw ei modrwy, neu'r cylch sydd oddi amgylch iddi. Y mae'r fodrwy yma yn fawr iawn, gan nad yw *diameter* Sadwrn iddi hi, ond 4 i 9. Ac hefyd y mae ei lled a'i phellder yn gyfatebol, sef 21 mil o filltiroedd, neu ychwaneg. Ei thrwch o bosibl, sydd yn fil hefyd. Y mae hon yn ddiammeu at gryfhau goleuni Sadwrn, gan ei bod mor bell oddi wrth yr haul. Y mae yn debygol ei bod yn beth disglaer lle-

wyrchaidd iawn, ac felly mewn modd rhagorol yn casglu goleuni yr haul y'nghyd, ac yn ei dywallt ar Sadwrn. Y mae hon i'w gweled mewn amrywiol ffyrdd, fel y b'o Sadwrn yn troi o ddeutu yr haul. Y mae weithiau i'w gweled yn groes ar Sadwrn, ac weithiau oddi amgylch iddi yn edrych fel modrwy. Pob 15 mlynedd y mae'r un fath olwg i'w gael arni. Spien-ddrych o 10 troedfedd a rydd olwg ar hon a lleuadau Iou. Y mae Sadwrn yn troi ar ei phegynau ei hun wrth bob tebygoliaeth, ac felly yn gwneuthur dydd a nos; ond y mae mor bell oddi wrthym ni, fel nas gallwn ni wybod ei thro, na hyd ei dydd a'i nos. Eithr am dymhorau Sadwrn, gan ei bod yn rho'i tro o ddeutu yr haul mewn 30 mlynedd, y mae ganddi 15 mlynedd o Haf, a 15 mlynedd o Auaf wrth ein cyfrif ni, er nad yw hyny ond blwyddyn ynddi hi. Yn awr ystyriwn a rhyfeddwn, pa fath ragddarbod ag sydd yma, gogyfer a goleuo, gwresogi, a chynhesu Sadwrn, gan ei bod yn sefyll mor bell oddi wrth yr haul. Diameu genyf fi, fod yr holl fydoedd yn llawn trigolion cymmwys i'w nhatur a'u tymmer, fel ein byd ninau, gan fod yr un rhagluniaeth, a'r un rhagddarbod ynddynt yn ymddangos, ag sydd gyda ninau; a chan nad oes un lle, nac un peth wedi ei greu gan Dduw yn ofer. Ond pa fath drigolion, a pha fath greaduriaid, a pha fath ffrwythau sydd ynddynt, nis gellir gwybod yn sicr, eithr y neb a fyno dybiau a thebygoliaethau, a all eu cael mewn modd difyr iawn, yn llyfr Mr Christian Huygens, a elwir Cosmotheoros. Rhyfeddwn a chlodforwn yr Arglwydd.

### 8. *Rhai pethau rhyfeddol yn rhagor y'nghylch Goleuni.*

Y mae goleuni yn un o'r pethau rhyfeddaf mewn naturiaeth: llawer sydd i'w ddywedyd am dano, a llawer sydd heb ei ddeall ynddo. Ac er fy mod wedi son llawer o'r blaen am dano, etto mi gaf ddal sylw ar rai pethau rhyfedd yn rhagor mewn perthynas iddo. 1, Y mae'r goleuni yn dyfod oddiwrth yr haul atom ni fel y clywsoch, ac yn rhedeg mewn llinellau union, a

hyny yn dra buan. Cymaint o effaith ag sydd gan y cyrph nefol ar bethau dearol, sydd wrth fy nhyb i, trwy eu sugn a'u goleuni. 2, Y mae'n beth da nad yw gronynau y goleuni yn gludio wrth eu gilydd, ac yn gwneuthur talpiau wrth ddisgyn oddiwrth yr haul, fel y maent yn gludio wrth amryw bethau, ryw brydiau eraill; megis, wrth y gwer cyn ei losgi; canys pe b'ai ond cymmaint a phen pin bach o hono yn gludio y'nghyd, byddai o herwydd ei gyflymdra, yn llawer mwy ei nerth na bwlet canon o 12 pwys. Y mae bwlet o un pwys, ag a redo 10 milltir mewn munud, yn gymmaint ei nerth a bwlet o 2 bwys, ac na redo ond 5 milltir mewn munud, &c. 3, Y mae'r goleuni yn dân, fel y clywsoch, neu yn dwyn llawer o dân gyd ag ef, gan y llŷsg ychydig o belydr yr haul yn ebrwydd mewn llosg-wydr. Ac os oes llawer o dân mewn ychydig o oleuni, pa faint sydd yn yr holl fyd? Digon i'w losgi ef yn ebrwydd, oni b'ai rhagluniaeth yr Arglwydd. Nid yw goleuni 'r lleuad, o herwydd ei deneudra a'i wendid, yn gwneuthur dim gwres ag a allwn ni ei ddirnad yn y llosg-wydr goreu. 4, Y mae mwy o oleuni yn dyfod yn wastadol oddi wrth yr haul nag a allwn ni ddirnad. Y mae'n amlwg fod goleuni 'r haul yn llanw 'r holl le oddiamgylch iddi hyd atom ni, ïe, hyd at Sadwrn, ac y'mhellach i bellder anfesurol. Yn awr y mae hyn yn fwy o faithder nag a allwn ni feddwl yn hawdd. Y mae 10 mil trwch y ddaear rhyngom ni a'r haul, a hyny oddi amgylch. Y mae Sadwrn 9 gwaith y'mhellach oddiwrth yr haul na ni. Y mae hyn yn gymmaint o le ac a gynhwysai 12000 biliwn o'r fath gyrph ag yw'r ddaear hon. Eilwaith, y mae'r goleuni mewn 5 chwarter awr, yn myn'd oddiwrth yr haul at Sadwrn, ac felly y mae'r holl faithder yma yn cael ei lanw o'r newydd â goleuni bob 5 chwarter awr er y dechreuad. Yn awr ystyriwn os gallwn, pa fath gyfoeth rhyfeddol o oleuni sy'n wastadol yn dylifo oddiwrth yr haul, ac etto heb ddarfod. Er cymmaint o oleuni sy'n myn'd i lanw'r byd, etto y mae'n bosibl, gan faned ei ronynau, nad yw'r cwbl yn dyfod i gymmaint ac un tywodyn. Weithian, er rhyfedded a hyfryded yw'r goleuni, y

mae'n rhaid ei adael; ond nis gallaf lai na dywedyd, mai mawr yw tywyllwch y dyn hwnw, na welo allu, doethineb, a daioni Duw yn yr holl oleuni hwn.

### 9. *Casgliad oddi wrth y pethau hyn.*

Yn awr wedi gweled y drefn ryfeddol sydd gan y Creawdwr, wedi ei gosod i fynu, gogyfer a goleuo a gwresogi 'r byd, y ddau beth mawr angenrheidiol, heb ba rai nis gallasai un creadur byw fod yn iawn; wedi gweled hyn yn awr, rhyfeddwn, clodforwn, a gogoneddwn allu, doethineb, a daioni Duw, y creawdwr anfeidrol. Na fyddwn fel y bobl hyny yn Esay 5. 11, 12. Y rhai a ddilynant y gwin a'r cwrw a phob oferedd ddydd a nos, ond na fwrient unwaith am weithredoedd a gwasanaeth yr Arglwydd. Y mae dynion yn yn yr oes hon, yn priodi pleserau pechadurus, ac yn dymuned na byddai un Duw i'w cospi, ac yna yn dyfod i obeithio nad yw, ac wed'yn yn dyfod i haeru nad oes yr un. Ond heblaw datguddiadau Duw yn ei Air, y mae gweithredoeddd Duw yn dangos ei fod. Ni adawodd ef ei hun yn ddi dyst i un genedl. ' Y mae Duw i'w weled, sef ei allu, ei ddoethineb, a' ddaioni ef, a hyny yn amlwg yn y pethau a ddywedwyd yn y llyfr hwn. Medd Chrysippus, Od oes neb a wna y pethau nas gall dyn eu gwneud, yna yn sicr y mae hwnw yn alluocach, ac yn ddoethach na dyn. Eithr dyn nis gall wneuthur y ffurfafen a'i lluoedd, gan hyny y mae'r hwn a'u gwnaeth yn fwy ei allu, ei gyngor, ei gelfyddyd, a'i ddoethineb na dyn.

---

## PEN. XXIX.

### *Golwg fèr ar y Cyrph nefol.*

YR wyf wedi son llawer am y cyrph nefol a'u perthynasau o'r blaen, er hyny mi gaf yma eto, yn awr roddi golwg fèr arnynt y'nghyd.

### 1. *Am Droion y Prif-blanedau o ddeutu yr Haul, a'r Ail-blanedau o ddeutu eu Prif-blanedau.*

Y mae'r prif-blanedau yn troi o ddeutu'r haul fel hyn;

| | D | A | M | | D | A | M |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Mercher mewn .. | 87 | 23 | 16 | Mawrth mewn .. | 686 | 23 | 27 |
| Gwener — .... | 224 | 16 | 49 | Iou — .... | 4333 | 12 | 20 |
| Y Ddaear — .... | 365 | 6 | 9 | Sadwrn — .... | 10759 | 6 | 36 |

Y mae lleuadau Iou yn troi o ddeutu iddi fel hyn.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Y 1, mewn ........ | 1 | 18 | 28 | Y 3, mewn ...... | 7 | 3 | 43 |
| Yr 2, — ........ | 3 | 13 | 14 | Y 4, — ........ | 16 | 16 | 32 |

Y mae lleuadau Sadwrn yn troi oddeutu iddi fel hyn;

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Y 1, mewn ...... | 1 | 21 | 19 | Y 4, mewn ...... | 15 | 22 | 41 |
| Yr 2, — ........ | 2 | 17 | 41 | Y 5, — ........ | 79 | 22 | 4 |
| Y 3, — ........ | 4 | 13 | 47 | | | | |

Y mae'r lleuad yn troi o ddeutu'r ddaear, o un fan i'r cyfryw fan drachefn, mewn 27 dydd, 7 awr, a 43 munud. Eithr o newid i newid, neu oddi wrth yr haul, at yr haul drachefn, mewn 29 dydd, 12 awr a 44 munud.

### 2. *Am bellder y Prif-blanedau oddi wrth yr Haul, a'r Ail-blanedau oddi wrth eu Prif-blanedau, mewn milltiroedd Seisnig; pan fyddont yn eu pellder canolig.*

Y mae y prif-blanedau yn sefyll oddi wrth ganol yr haul fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Merchur ........ | 32000000 | Mawrth .......... | 123000000 |
| Gwener .......... | 59000000 | Iou .............. | 424000000 |
| Y ddaear ........ | 81000000 | Sadwrn .......... | 777000000 |

Y mae lleuadau Iou yn sefyll oddi wrth ei chanol hi fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Y 1, .............. | 130000 | Y 3, .............. | 580000 |
| Yr 2, ............ | 368000 | Y 4, .............. | 1000000 |

Y mae lleuadau Sadwrn yn sefyll oddi wrth ei chanol hi fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Y 1, .............. | 146000 | Y 4, .............. | 600000 |
| Yr 2, ............ | 187000 | Y 5, .............. | 1800000 |
| Y 3, .............. | 263000 | | |

Y mae'r lleuad yn sefyll oddi wrth ganol y ddaear pan fydd yn ei phellder canolig, yn 240000 o filltiroedd.

### 3. *Am gyflymdra canolig y Prif-blanedau bob awr, yn eu troion o ddeutu yr Haul, a'r Ail-blanedau o ddeutu eu Prif-blanedau.*

Y mae'r prif-blanedau yn rhedeg fel hyn;

| | MILLTIR. | | MILLTIR. |
|---|---|---|---|
| Merchur | 100000 | Mawrth | 45000 |
| Gwener | 70000 | Iou | 24000 |
| Y ddaear | 56000 | Sadwrn | 18000 |

Y mae lleuadau Iou yn rhedeg fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Y 1, | 32700 | *Y* 3, | 20000 |
| Yr 2, | 25700 | *Y* 4, | 15000 |

Y mae lleuadau Sadwrn yn rhedeg fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Y* 1, | 19400 | *Y* 4, | 9400 |
| Yr 2, | 18500 | *Y* 5, | 5600 |
| Y 3, | 14300 | | |

Y mae ein lleuad ni yn rhedeg 2200 o filltiroedd Y mae'r goleuni yn rhedeg 650 miliwn o filltiroedd mewn awr; a thros 10 miliwn mewn munud; ac agos i 200 mil o filltiroedd mewn moment.

### 4. *Am Drwch yr Haul a'i Phlanedau.*

Eu trwch mewn milltiroedd Seisnig, sydd fel hyn, neu o ddeutu;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Yr Haul | 763000 | Y ddaear | 7970 |
| Sadwrn | 61000 | Y lleuad | 2170 |
| Iou | 81000 | Gwener | 7900 |
| Mawrth | 4440 | Merchur | 4240 |

Nid yw trwch yr ail-blanedau eraill, eto yn ddigon hyspys, ond tebygol iawn yw eu bod yn gymmaint, neu yn fwy na'n lleuad ni.

### 5. *Amrafael bwys pethau ar wyneb yr Haul a'r Planedau.*

Yr hyn a bwyso un pwys ar wyneb un, a all bwyso mwy neu lai ar wyneb un arall; megis,

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ar y ddaear | 1 Pwys | Ar y lleuad | 3 chwarter Pwys |
| Ar yr haul | 24 — | Ar Sadwrn | 5 chwarter — |
| Ar Iou | 2 — | | |

### 6. *Am Dro diwrnodol y Cyrph nefol ar eu Pegynau eu hunain.*

Yr ydys yn gwybod yn sicr am rai o'r cyrph nefol, eu bod yn troi ar eu pegynau eu hunain fel hyn;

| | D | A | M | | D | A | M |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Yr haul mewn ...... | 25 | 6 | 0 | Y ddaear mewn .... | 0 | 23 | 56 |
| Iou — ...... | 0 | 9 | 56 | Gwener — ...... | 0 | 23 | 0 |
| Mawrth — ........ | 1 | 0 | 40 | Y lleuad — ...... | 27 | 7 | 43 |

### 7. *Am gyflymdra canol-gylch y Cyrph nefol hyn bob awr yn eu tro diwrnodol.*

Y mae canol-gylch pob un yn troi llawer o filltiroedd bob awr, fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Yr Haul ............ | 4000 | Y ddaear ............ | 1030 |
| Iou ................ | 25000 | Gwener ............... | 1600 |
| Mawrth .............. | 500 | Y lleuad ............ | 10 |

### 8. *Am y mesur o Oleuni a Gwres sydd ar wyneb yr Haul a'i Phlanedau.*

Y mae'r goleuni a'r gwres yn benaf, ac yn gyntaf ar wyneb yr haul, ac yna ar wyneb pob un o'r lleill yn ol eu hagosder, fel hyn;

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ar wyneb yr haul .... | 45000 | lleuad ........... | 1 |
| Ar wyneb Merchur .... | 6 | Ar wyneb Mawrth, llai na haner | |
| Ar wyneb Gwener .... | 2 | Ar wyneb Iou, .... | 27 rhan |
| Ar wyneb y ddaear neu'r | | Ar wyneb Sadwrn, .... | 90 rhan |

### 9, *Yr amser y byddai y Prif-blanedau yn syrthio i'r Haul, a'r Ail-blanedau i'w Prif-blanedau, pe baent yn cael syrthio wrth eu pwys, gan eu Cylchdroad.*

Byddai i'r prif-blanedau syrthio i'r haul mewn byr amser, fel hyn;

| | D | A | | D | A |
|---|---|---|---|---|---|
| Merchur mewn ...... | 15 | 13 | Mawrth mewn ...... | 121 | 0 |
| Gwener — ......... | 89 | 17 | Iou — ...... | 767 | 0 |
| Y ddaear neu'r lloer .. | 64 | 10 | Sadwrn — ....... | 1190 | 0 |

Byddai i leuadau Iou syrthio iddi hi fel hyn;

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Y 1, mewn ........ | 0 | 7 | Y 3, mewn ...... | 1 | 6 |
| Yr 2, — ........ | 0 | 15 | Y 4, — ........ | 2 | 23 |

Lleuadau Sadwrn fel hyn;

| | D | A | | D | A |
|---|---|---|---|---|---|
| Y 1, mewn ....... | 0 | 8 | Y 4, mewn ....... | 2 | 20 |
| Yr 2, — ........ | 0 | 12 | Y 5, — ........ | 14 | 1 |
| Y 3, — ........ | 0 | 19 | | | |

Y lleuad a syrthiai i'r ddaear, mewn 4 diwrnod ac 20 awr. Carreg a syrthiai i ganol y ddaear, pe b'ai dwll iddi, mewn 21 munud a 9 ailiad.

### 10. *Casgliadau oddiwrth y pethau hyn.*

Onid yw y pethau hyn yn rhyfeddol, ac yn dangos gallu, doethineb, a daioni Duw eu creawdwr a'u cynhaliwr? Ac yn galw arnom ninnau i'w ogoneddu a'i wasanaethu ef?

---

## PEN. XXX.

### *Casgliadau bucheddol oddiwrth yr olwg hon ar y Byd, yn enwedigol y Ffurfafen.*

WEDI cymmeryd golwg fel hyn ar y byd a'i drigolion, a'r ffurfafen a'i lluoedd, a gweled y modd rhyfeddol, ardderchog, y mae pob peth wedi eu gwneuthur, ac wedi eu cymhwyso a'u cyfaddasu i'w gilydd, ni a gawn weithian gymhwyso'r peth attom ein hunain, a gwneuthur ychydig o gasgliadau bucheddol oddiwrth y cwbl.

### 1. *Fod Duw i'w weled yn ei waith.*

Oddi wrth yr olwg yma ar y byd, ni a gasglwn, Fod Duw i'w weled yn ei holl weithredoedd. Nid yw y pethau hyn o angenrheidrwydd, ac am hyny, rhaid oedd iddynt gael dechreuad, a rhyw un i ro'i dechreuad iddynt, ag oedd o hono ei hun, heb ddechreuad, ac am hyny o angenrheidrwydd. Y mae amser a lle, heb ddechreu ac heb ddiwedd, a Duw anfeidrol yn mhob perffeithrwydd yn llenwi pob un o'r ddau.

*Y* mae Duw i'w wel'd yn eglur,
*Yn* y ddaear a phob creadur,
*Yn* y moroedd, yn yr wybren,
*Yn* y nefoedd a phob seren.

## 2. *Fod Perffeithrwydd Duw i'w weled yn ei waith.*

Fel y mae gweithredoedd Duw yn dangos ei Hanfod, felly y mae eu godidawgrwydd yn dangos ei berffeithrwydd a'i ogoniant; yn enwedigol ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni. Fel y mae gwaith gŵr yn dangos ei gelfyddyd, felly y mae gweithredoedd Duw yn dangos ei berffeithrwydd.

> Y mae medr pawb i'w weled,
> Yn dra amlwg yn eu gweithred;
> A nerth, a doethder, a daioni,
> Duw'n y byd sy'n amlwg ini.

## 3. *Perthynas Duw i ni, a'n Dyled ninnau*

Gan fod Duw yn Greawdwr rhyfeddol i ni, ac am hyny yn Gynhaliwr, yn Arglwydd, ac yn Llywodraethwr galluog, doeth, a daionus; ein dyled ninnau yw ei adnabod, ei ryfedddu, ei ofni, ei anrhydeddu, ei glodfori, ei addoli, ei garu, a'i wasanaethu yn ffyddlon.

> Duw a'n gwnaeth, a Duw yw'n perchen,
> Duw yw'n Harglwydd, Duw yw'n diben;
> Ac am hyny, Duw'n Tad nefol,
> Ddylem foddio yn wastadol.

## 4. *Ffolineb Gau dduwiaeth.*

Yn awr ni a welwn, pa mor ffol yw'r dynion hyny, sydd yn addoli'r creadur yn lle'r Creawdwr. Rhai yn addoli'r Tân, rhai y dwfr, rhai yn addoli yr anifeiliaid, rhai yn addoli coed a llysiau, rhai yn addoli'r haul, neu uffern fel y tybia rhai, rhai yn addoli 'r ser a'r planedau, a rhai yn addoli dynion, ac eraill yn addoli'r diafol.

> Ffol yw ceisio help a chyngor,
> Gan ddelw wych, a llun y doctor;
> A ffolineb mawr heb amgen,
> Yw ofni'r ffon yn fwy na'i Pherchen.

## 5. *Yr olwg hon ar y Byd, i ddysgu i ni ddibrisio lleiniau bach o'r Ddaear.*

Yn awr ni a welwn nad yw'r ddaear hon i gyd oll ond rhan fechan mewn cymhariaeth â'r byd mawr a'r greadigaeth. Ac hefyd nis gwyddom ni pa cyn gynted

y gorfydd arnom ni ymadael â'r ddaear hon a chwbl. Pe byddai deall dynol gan y morgrug, byddai iddynt, ond odid, ranu eu twmpath yn wledydd, ac yn deyrnasoedd. A pha beth yw ein gwaith ni yn rhyfela yn erbyn ein gilydd, ond megis cynnifer o forgrug yn ymladd a'u gilydd ar hyd ystlysau'r twmpath? Ynawr a fydd i ni ddigio ein Duw, a dibrisio ein iechydwriaeth dragywyddol, er mwyn y twmpath morgrug, er mwyn y ddaear dros ychydig amser, ïe, er mwyn teyrnas, ïe, er mwyn tyddyn, ïe, er mwyn dim? O! medd Iesu Grist, Math. 16. 26. Pa leshad i ddyn, os ennill efe yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun? Neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?

Nid yw'r ddaear mewn cymhariaeth,
Ond twmpath gwâdd i'r greadigaeth,
Ber ei hamser bach ei phleser,
O dibrisiwn beth mor ofer.

## 6. *Rhoddwn ein serch ar bethau nefol.*

Ystyriwn pa fath bethau nefol sydd mewn golwg i ni, ac od oes y fath bethau y tu faes i'r llen, pa beth sydd y tu fewn? Yr ydym yn fawr am bethau newydd, a phethau dieithr, a pha fath foddlonrwydd gan hyny a hyfrydwch y bydd yr enaid duwiol yn golygu pethau'r byd arall, y rhai fel y tystia'r ysgrythur, Esay 64. 4. 1 Cor. 2. 9. Ni welodd llygad, ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn i feddwl am danynt neu eu cyffelybu. Dilynwn sancteiddrwydd, ac ni a ddeuwn i hapusrwydd, canys medd yr Apostol, Heb. 12. 14. Heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd. Er bod bwytta bwyd at gynnal bywyd, etto nid ydyw dyn, yn wastad, wrth fwyta yn golygu hyny, ond fe fydd yn bwyta o ran ei flŷs, a'r hyfrydwch sydd ganddo yn y gwaith. Felly'r duwiol, nid yw'n byw yn sanctaidd yn unig er mwyn ennill y nefoedd, ond er mwyn yr hyfrydwch hefyd sydd ganddo mewn sancteiddrwydd a boddloni Duw. Gan hyny, weithian, cymmerwn ofal am osod ein serch ar bethau uchod, ac i fod o feddwl ysprydol, ac nid o feddwl cnawdol, daearol; ac felly, i redeg yr yrfa a osododd Crist o'n blaen, fel y caffom fyned i'r lle a barotodd ef i'w weision ffyddlon, ac y

caffom ein derbyn ganddo atto ei hun, fel, lle y b'o ef y gallwn ninnau fod hefyd. Ger bron yr un y mae digonolrwydd llawenydd, ac ar ddeheulaw pa un y mae digrifwch yn dragywydd, Salm 16. 11.

Rhown ein serch ar bethau uchod
A Christ yn cynnyg i ni'n barod;
P'am na serchwn bethau nefol,
Gan eu bod hwy yn drag'wyddol.

## 7. *Y Cload.*

Yn awr ni a welwn pa fath waith rhyfeddol ydyw'r greadigaeth, â'r modd y mae gallu, doethineb, a daioni Duw yn ymddangos yn mhob rhan o honi; gan hyny, weithian, bydded i ni geisio meddwl yn wastadol am Dduw, ei ofni, ei garu, a'i wasanaethu yn ffyddlon hyd y diwedd.



## Y CYNNWYSIAD.

### *PEN. I. Am Dduw.*



### *PEN. II. Am Ysbryd.*



### *PEN. III. Am Enaid Dyn.*



### *PEN. IV. Am Gorph dyn.*

## PEN. V. *Am y byd daearol, yn enwedigol, Awyr, goleuni, a Phwys.*



## PEN. VI. *Am y Bel ddwfr ddaearol yn gyffredinol.*



## PEN. VII. *Am y Ddaear yn neillduol.*

PEN. VIII. *Am Fywiolion yn gyffredinol.*



PEN. IX. *Am amryw lwythau bywiolion yn neillduol, ac yn gyntaf am yr anifeiliaid pedwar troediog.*



PEN. X. *Am Adar.*



PEN. XI. *Am Bryfed a phlyf.*



PEN. XII. *Am Ymlusgiaid.*



PEN. XIII. *Am breswylwyr y dyfroedd.*



PEN. XIV. *Am Goed a Llysiau.*



PEN. XV. *Am y pedwar defnydd, sef Awyr, Dwfr, Daear, a Thân.*



PEN. XVI. *Am y Dwfr.*

### PEN. XXIII. *Am rifedi y Cyrph nefol.*



### PEN. XXIV. *Am gyflead y Cyrph nefol.*



### PEN. XXV. *Am gyffroad y Cyrph nefol.*



### PEN. XXVI. *Am ddull a llun y Cyrph nefol.*



### PEN. XXVII *Am bwys a sugn* (gravity) *y Cyrph nefol.*



### PEN. XXVIII. *Am oleuni a gwres yr Haul.*



### PEN. XXIX. *Golwg fer ar y Cyrph nefol.*



### PEN, XXX. *Casgliadau bucheddol oddiwrth yr olwg hon ar y Ffurfafen.*



## DIWEDD.

---

*Llanrwst: argraffwyd gan John Jones.*

# ALLWEDD MYFYRDAWD;

NEU,

## *ARWEINYDD I'R MEDDWL SEGUR:*

LLE Y CYNHWYSIR

## DWY-AR-BYMTHEG O BENNODAU

MEWN FFORDD O FYFYRDAWD:

YN NGHYDA

## HYMNAU MEWN FFORDD O FYFYRDAWD,

YN CANLYN POB UN O HONYNT.

---

1. *Allwedd Myfyrdawd wrth rodiaw ar Lan y Môr.*—2. *Wrth rodiaw ar Lan yr Afon.*—3. *Wrth rodiaw ar hyd y Mynydd.*—4. *Wrth rodiaw yn yr Ardd.*—5. *Wrth edrych arni yn gwlawiaw.*—6. *Wrth sylwi ar y gwlith.*—7. *Wrth edrych ar yr Haul.*—8. *Wrth edrych ar y Lleuad.*—9. *Wrth ddal yr Aradr.*—10. *Wrth fedi y Cynhauaf.*—11. *Wrth fyned i'r Maes i loffa.*—12. *Wrth ddechreu Taith bell.*—13. *Wrth rodiaw yn mhlith y Beddau.*—14. *Wrth fyned i'r Gwely y Nos.*—15. *Wrth godi y Boreu.*—16. *Wrth ddysgu yr Egwyddôr Gymraeg.*—17. *Wrth glywed y Cloc yn taraw.*

---


GAN AZARIAH SHADRACH,

GWEINIDOG YR EFENGYL YN ABERYSTWYTH.


---

"Tra yr oeddwn yn myfyriaw, enynodd tân; a mi a lefarais a'm tafod." SALM XXXIX, 3.

"Myfyriaf hefyd ar dy holl waith, ac am dy weithredoedd y chwedleuaf." SALM LXXVII, 12.

Paid, ddarllenwr, fod fel gogor,
I ddal brychau heb ddim rhagor;
Gâd i'r brychau fyned heibio,
Dâl yr hyn o wir sydd ynddo.

---


CAERFYRDDIN:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN M. JONES, HEOL-Y-PRIOR.

*Entered at Stationer's Hall.*

PRIS CHWECH CHEINIAWG.—1839.

O Arglwydd Dduw Iehofa
Prysura'r hyfryd awr,
Pan ddelo muriau Babel
Yn llwyr o'r bron i'r llawr;
A phob rhyw draddodiadau,
A dych'mygiadau cas,
A gaffo eu dystrywiaw
Gan rym efengyl gras.

O Arglwydd Dduw'r gogoniant
Pâr lwyddiant trwy bob bro,
Chwilfriwia fawrion furiau,
A chaerau Iericho;
A dryllia'r holl gadwynau,
A choncra'r gelyn cas,
Fel delo pechaduriaid
I ganmawl golud gras.

O llwydda'r hen efengyl,
Trwy barthau'r byd o'r bron,
A'r holl genedloedd ddelo
I wir gofleidiaw hon:
A'r Iuddew ddelo o ddifri
I gredu yn y gwa'd,
A llawenâu yn rhyfedd
Am iechydwriaeth rad.

# ALLWEDD MYFYRDAWD.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth rodiaw ar Lân y Môr.*

PAN byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar lan y môr naturiawl, cofia yn wastadawl am y pethau canlynawl.

1. Am y moroedd mawrion didrai a diwaelod o gariad a thrugaredd sydd yn y Duw mawr at bechaduriaid colledig, llwm, a thlawd, pa rai sydd yma yn y byd presenawl yn ymdrabaeddu yn nghanol môr o wae.

2. Cofia am y moroedd mawrion, anfeidrawl, ac annherfynawl o haeddiant sydd yn Nghrist i olchi pechaduriaid aflan ac halogedig, a'u gwneuthur mor wyned a'r eira neu y gwlan, er dued oedd eu lliw o'r blaen gan ddiafol a phechod.

3. Meddwl am y môr diwaelod, didrai, a diddiwedd, o wynfyd tragywyddawl ac annhraethadwy sydd ar fedr y saint tu draw i'r bedd, ar dawel ardaloedd anfarwoldeb, tu draw i bob gofid, yn y nefawl a'r baradwysaidd wlad sydd uwch y sêr, yr hon sydd yn wastadawl lifeiriaw o laeth a mêl.

4. Pan byddot ti yn rhodiaw ar lan y môr, meddwl am y môr garw, tonawg, a themhestlawg, o groesau, blinderau, a phrofedigaethau chwerwon, ag y mae plant y cyfammod newydd yn gorfod nofiaw trwyddo yn y byd yma, cyn iddynt diriaw draw yn mhorthladdoedd tawel Caersalem Newydd, yn y wlad lle na ddaw ystormydd mawrion, na chroesau chwerwon, na chroes awelon, na phrofedigaethau, na themtasiynau, i'w blino byth mwy. Y mae rhai yn dywedyd am y môr naturiawl, ei fod yn codi yn dònau, tòn ar ol tòn, a phob tòn yn fwy nâ'u gilydd hyd y nawfed dòn; felly y mae llawer Cristion yn cwrdd â naw o dònau geirwon ar ei daeth wrth hwyliaw tua'r dawel baradwysaidd ardaloedd, sydd yn y wlad a'i henw Tragwyddoldeb. 1.

Tòn o ofnau ac anmeuon. 2. Tòn o annghrediniaeth. 3. Tòn o wawd a dirmyg. 4. Tòn o ofalon bydawl. 5. Tòn o groes ragluniaethau a cholledion bydawl. 6. Tòn o erledigaethau. 7. Tòn o siomedigaethau mewn perthynasau, a chyfeillion naturiawl a chrefyddawl. 8. Tòn o gystuddiau chwerwon. 9. Tôn angeu, dyna y dòn ddiweddaf.

Bydd melus tiriaw draw,
'Nol bod o dòn i dòn;
A mi ro'f ffarwel maes o law,
I'r ddaear hon.

O fendigedig Arglwydd, os caf fi brofi ond rhai defnynau o'r moroedd tragywyddawl o gariad a thrugaredd sydd ynot ti, a chael fy ngolchi yn berffaith lân oddiwrth fy mawrion bechodau, yn y mawrion foroedd o haeddiant Iesu, a chael adnabod fod genyf hawl i'r môr o wynfyd diwaelod sydd uwch y sêr; yna mi fyddaf yn foddlon yn yr holl groesau a'r tònau geirwon sy'n llifaw yn aml dros fy mhen yn y byd presenawl; O Iesu hawddgar, ti yw'r Brawd sydd wedi ei eni erbyn caledi, bydd gyda mi yn y 'stormydd a'r geirwon dònau sydd yn fy nghyfarfod yn y byd yma; a phan byddwyf yn wynebu dychrynllyd dònau afon marwolaeth; O fendigedig Arglwydd, saf yn daclus pryd hyny yn rhydiau'r Iorddonen, i dori grym y dwfr o'm blaen, ac i ddal fy mhen uwch y dòn, onid ê, fe gaiff fy enaid gwerthfawr ei gario dros greigydd dystryw i'r môr marw, a'r llyn o dân a brwmstan, yr hon yw yr ail farwolaeth.

1 Mae'th gariad, Arglwydd, yn parâu,
Fel moroedd mawrion yn ddidrai,
At bechaduriaid gwael y llawr,
Sydd yma yn y cystudd mawr.

2 Mae môr o haeddiant Crist a'i ras,
Yn golchi ffwrdd fy mhechod cas;
Fy ngolchi caf yn berffaith wyn,
Trwy rinwedd môr Calfaria fryn.

3 Mae môr o wynfyd pur didrai,
I'r seintiau uchod yn parâu;
Gwynfyd na b'awn i yno'n awr,
Yn nofiaw yn y moroedd mawr.

4 Mewn môr o groesau 'nawr 'rwy'n byw,
A thònau geirwon o bob rhyw;
'Rwyf yma'n mynych ofni'n brudd,
Rhag gwneud llong-ddrylliad o fy ffydd.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth rodiaw ar làn yr Afon.*

PAN byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar hyd glan yr afon, meddwl am yr afon sydd â'i ffrydiau yn llawenâu dinas Duw, neu yr afon sydd yn dyfod allan o dan orsedd-fainc Duw a'r Oen, sef yr iachawdwriaeth sydd yn llifaw i bechaduriaid tlodion trwy y croeshoeliedig Gyfryngwr.

1. Meddwl fod ffynnon neu darddiant i bob afon, felly y tarddiant neu y ffynnon o ba un y mae ein iachawdwriaeth ninau yn tarddu, yw tragywyddawl a hunan ymgynhyrfiawl gariad y Duw mawr at bechaduriaid, cyn creu na dyn nac angel.

2. Meddwl fod yr afon yn rhad i bawb fel eu gilydd; felly y mae yr iachawdwriaeth yn rhad i bawb a gredo yn y croeshoeliedig Emmanuel.

3. Meddwl fod mewn afonydd mawrion gyflawnder o ddyfroedd; felly mae cyflawnder o bob bendithion ag sydd yn angenrheidiawl i bechadur yn gynhwysedig yn yr iachawdwriaeth yma. 1. Cyflawnder o faddeuant. 2. Cyflawnder o oleuni. 3. Cyflawnder o ras santeiddiawl. 4 Cyflawnder o ras cynnorthwyawl yn y byd yma. 5. Cyflawnder o ogoniant yn y nefoedd.

4. Mae yr afonydd yn ddefnyddiawl i olchi ac i lanâu; felly y mae rhinweddau yr iachawdwriaeth yma i olchi ac i lanâu y penaf o bechaduriaid, a'u gwneuthur cyn wyned a'r eira yn Salmon.

5. Y mae dyfroedd yr afon yn ddefnyddiawl i ddisychedu y sychedig; felly mae yr iachawdwriaeth yma yn ddefnyddiawl i ddisychedu ac i adfywiaw pererinion Sion, sydd yn mron a cholli eu hanadl wrth ddringaw y tylau serth ar y rhiwiau geirwon, yn eu gwaith yn teithiaw tua gwlad eu genedigaeth.

6. Y mae afon yn ddefnyddiawl iawn mewn dinasoedd i ddiffodd tân a fyddo wedi cymeryd gafael mewn adeilad; felly y mae yr iachawdwriaeth yma yn ddefnyddiawl i ddiffodd tri math o dân. 1. Y mae yn diffodd tân o lygredd. 2. Y mae yn diffodd tân cydwybod. 3. Y mae yn diffodd tân digofaint.

7. Y mae yr afonydd yn rhedeg trwy lawer o leoedd anial diffeithwch, a chreigydd; felly y mae yr iachawdwriaeth ac efengyl gras Duw; y mae yn gwneuthur ei ffordd trwy ganol anialwch paganiaeth ac eilun-addoliaeth, ac yn tori dros ben creigydd o annghrediniaeth, ac yn myned â phlant yr arfaeth fore adref yn lluoedd aneirif a dirifedi yn ei ffrydiau: diolch byth am hyny.

8. Y mae yn anmhosibl i rwystraw yr afonydd i redeg; felly y mae yn anmhosibl i rwystraw yr iachawdwriaeth ac efengyl gras i redeg o fôr hyd fôr.

9. O'r môr y mae yr afonydd yn dyfod, ac felly i'r môr y maent yn dychwelyd; felly y mae yr iachawdwriaeth, y mae yn llifaw o'r môr o dragywyddawl gariad, ac yn rhedeg trwy anialwch dyrus y byd yma, ac yn myned â miloedd o bechaduriaid yn ei ffrydiau tuag adref i'r môr o dragywyddawl wynfyd.

O'r Iehofa trugarawg, tro heibiaw ben yr afon sydd yn dyfrâu dinas Duw: O Iachawdwr pechaduriaid, dyro i mi gael adnabod fy mod I, bechadur gwael, yn afon yr Iachawdwriaeth yn nofiaw tuag adref, ac nid yn unig ynddi hyd y fferau, ond hyd y lwynau; a phrysured yr amser pan elo hi yn ddyfroedd nofiadwy ar fy enaid, ac yna mi ddywedaf, Ffarwel ddaear a'i theganau, ffarwel ofid a blinderau, ffarwel groes, mi gaf y goron, ffarwel gleddyf, mi gaf y palmwydd; O iachawdwriaeth rasawl a drefnodd y tragywyddawl Dri yn Un, rhed yn gyflym fel afon lifeiriawl i blith yr Indiaid a'r Negroaid duon, ac i ynysoedd pellaf y byd, fel y byddo miloedd o'r rhai hyn trwy ddwyfawl effeithiau; yn cael eu golchi a'u gwneuthur cyn wyned a'r eira yn Salmon: a'r rhai sydd yn preswyliaw yn Ynysoedd Môr y Dëau, a gaffo eu dwyn, trwy rasawl effeithiau yr iachawdwriaeth yma, i breswyliaw y tragywyddawl fôr o wynfyd dros byth.

1 Hên afon iechydwriaeth rad
A redo'n gyflym trwy bob gwlad;
A phechaduriaid truain trist
A gaffo'u golchi yn ngwaed Crist.

2 Mae afon iechydwriaeth gras
Yn golchi ffwrdd fy mhechod cas;
Mae'n disychedu f' enaid prudd,
Ac yn rhoi nerth yn ol y dydd.

3 Aed afon iechydwriaeth Duw,
I blith y Negroaid dua'u lliw;
A miloedd gaffo'u gwneud yn wyn,
Trwy rinwedd gwaed Calfaria fryn.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth rodiaw ar hyd y Mynydd.*

PAN byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar hyd y mynydd, cofia mor ogoneddus oedd hi ar yr hen Noa a'i deulu, pan orphwysodd yr arch ar fynydd yr *Ararat*, yn ol bod yn y dylif tymhestlawg a'r tonau mawrion; mi a'i gwelaf ef yn awr yn gorphwys yn dawel ar fynydd yr Ararat, a'i holl wawdwyr wedi boddi; felly y bydd ar y gwir gredadyn, yn ol iddo ddyfod i'r arch ysbrydawl, a nofiaw trwy ddylif o ofidiau a chroesau yn y byd yma, fe gaiff orphwys yn dawel maes o law ar fynydd Sion, pan byddo yr holl wawdwyr annuwiawl wedi boddi, neu wedi cael eu dystrywiaw yn y dylif tanllyd sydd ar ddyfod.

2. Pan byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar hyd y mynydd, meddwl pa mor ofnadwy a dychrynllyd oedd hi ar Moses ar fynydd Sinai, wrth dderbyn y gyfraith foesawl, pan oedd y mynydd yn llosgi gan dân, a'i fŵg yn derchafu fel mŵg ffwrn. Fe gafodd y gyfraith ei rhoddi ar ben Sinai. 1. I ddangaws perffeithrwydd, purdeb, a santeiddrwydd y Duw mawr. 2. I'r dyben i ddangaws i ddyn ei gyflwr truenus, fel troseddwr o'r gyfraith yma. 3. I'r dyben i ddwyn dyn i weled yr angenrheidrwydd o Gyfryngwr, neu ynte ei fod o angenrheidrwydd i gael ei ddamniaw dros byth. 4. Fe gafodd y gyfraith ei rhoddi ar ben Sinai, i'r dyben i ddang-

aws i'r duwiolion goreu, eu brychau, fel y byddo iddynt ymwadu mwy â hwy eu hunain, ac ymestyn mwy yn mlaen at berffeithrwydd, ac i hiraethu mwy am y nefoedd, lle cant hwy fod yn gwbl berffaith. 5. Fe gafodd y gyfraith ei rhoddi ar ben Sinai, i'r dyben i fod yn rheol o santeiddrwydd bywyd i'r cristion yma yn y byd. O Arglwydd, arwain finau at ddrych gloyw y gyfraith, i weled fy holl drueni, ac na feddaf ddim i gadw fy enaid, ond cyflawnder y Gŵr fu dan yr hoelion.

3. Pan byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar hyd y mynydd, cofia Moses ar ben Pisca, yn cael golwg ar ogoniant gwlad Canaan, a thrwy ffydd, yn cael golwg ar y Ganaan nefawl, sydd yn llifeiriaw yn wastadawl o laeth a mêl.—O Arglwydd, cwyd finau o ran fy serchiadau, fy meddyliau, a fy myfyrdodau, uwchlaw y byd a'r creaduriaid, i gael golwg ar ardaloedd tawel gwlad anfarwoldeb.

4. Pan byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar hyd y mynydd, meddwl am y cyfarfod gogoneddus a gafodd Pedr, Iago, ac Ioan, gyda Christ ar ben y mynydd Tabor; y mae yn debyg fod Pedr wrth ei fodd yno, pan y dywedodd ef, Mai da i mi fod yma.—O Iesu hawddgar, gad i minau gael gweled dy ogoniant, a chael dy fwynâu, yna fe fydd yn dda arnaf finau yn mhob man a phob amgylchiad yn y byd; os yn y bregeth, fe fydd yn dda yno; os yn gweddiaw, fe fydd yn dda yno; os yn y Gyfeillach, fe fydd yn dda yno; os yn y cymundeb, fe fydd yn dda yno; os mewn tlodi, fe fydd yn dda yno; os yn gystuddiawl, fe fydd yn dda yno.—O Iesu hawddgar, gwna fynot â fi yn y byd yma, ond i ti roddi dy hun i mi, ac yna fe fydd yn dda arnaf yn y byd yma, fe fydd yn dda yn angeu, fe fydd yn dda yn y farn, ac i dragywyddoldeb.

5. Pan byddot ti, enaid, yn rhodiaw ar hyd y mynydd, cofia am yr Iesu ar ben mynydd Calfaria, yn dyoddef ar y groes, ac yn marw dan yr hoelion, i'r dyben i foddloni dwyfawl gyfiawnder, i anrhydeddu y gyfraith, ac i dalu dyled ei eglwys. Mi welaf bedwar o ryfeddodau hynod ar ben Calfaria. 1. Mi welaf ffynnon pob bendith wedi cael ei gwneuthur yn felldith yno. 2. Mi welaf anwyl Fab Duw, yn dyoddef o dan ei lid a'i ddigofaint, a'i elynion yn cael mwynâu ei heddwch a'i ffafr. 3. Mi welaf y Meddyg yn

marw ac yn rhoddi gwaed ei galon i gadw y cleifion oedd dan ei law yn fyw. 4. Mi a welaf yr Iesu trwy ei angeu, yn bod yn angeu i angeu miloedd.

O Iachawdwr gogoneddus, a gymeraist ti dy goroni â drain, fel y cawn ni goron o ogoniant? a gymeraist ti dy rwymaw fel y cawn ni fy nhragywyddawl rhyddâu? a aethost ti yn fud yn llys yr arch-offeiriad, fel y cawn i lefaru yn groyw? a gymeraist ti hoeliaw dy ddwylaw ar led fel y byddai i freichiau trugaredd fy nghofleidiaw I, bechadur euog? yn llawen yn dy waed a ogwyddaist dy ben tua'r llawr, fel y cawn I dderchafu fy mhen tua y nef? O Iesu hawddgar, a fuost ti farw yn lân ar fynydd Calfaria, fel y cawn I fyw byth ar fynydd Sion?

1 Mae dylif o ofidiau, a gorthrymderau prudd,
Yn amgylchynu'r Cristion, yn gyson nos a dydd;
Crist ydyw'r arch all gadw, a thywys f' enaid gwan,
A'm dwyn I gyda Noa, i orphwys yn y man.

2 Fel Moses o ben Pisca, dymynwn wel'd y wlad,
Sydd wedi cael ei threfnu, a'i phrynu am y gwa'd;
Ac yna deued angeu, a'i gleddyf yn ei law,
I hol fy enaid adref, i'r pur drigfanau draw.

3 Gwynfyd na cawn gyfarfod, â Iesu mhriod glân,
Fel Pedr ar ben Tabor, yn llawn o'r nefawl dân;
Mi dd'wedwn gyda Phedr, Mai da a phleser yw,
Cael bod yn nghwm'ni 'm Ceidwad, yn wastad tra f' wyf byw.

4 O f' enaid tro dy olwg tua mynydd Calfari,
Gwel yno'r Gair trag'wyddawl yn eiriol drosot ti,
Gan ddweud, Dad maddeu iddynt, er mwyn fy ngwaed a'm cur,
A'r goron ddrain a'r briwiau, a thyllau'r hoelion dur.

5 Rhyfeddawl gweled Ffynnon bendithion ar y groes,
Yn dyodde'r holl felldithion a chreulon angeu loes:
A phechaduriaid euog yn cael eu gwneud yn rhydd,
Am hyn rwy'n rhwym i foli Crist Iesu nos a dydd.

6 Ar gopa pen Calfaria, mi wela'r Meddyg rhad,
Yn tywallt gwaed ei galon, i mi gael gwir iachâd,
Os rhoddodd ef ei fywyd i brynu mywyd I,
O f'enaid, cofia beunydd, am fynydd Calfari.

---

## *Allwedd Myfyrdawd wrth rodiaw yn yr Ardd.*

PAN byddot ti, enaid, yn rhodiaw yn yr ardd, meddwl am ogoniant ac ardderchawgrwydd y natur ddynawl, yn ei chyflwr creadigawl, yn ngardd Eden, yr amser oedd ein rhieni cyntaf ar lun ac ar ddelw Duw, mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir santeiddrwydd.

2. Cofia mae yn ngardd Eden y dechreuodd ac yr agorwyd ffynnon pob trueni, trwy'n rhieni cyntaf fwyta o ffrwyth y pren gwaharddedig, fe ddarfu dyn yn union golli delw Duw, fe gollodd gymundeb â Duw, fe gollodd heddwch â Duw, ac fe ddaeth dan lid a digofaint y Duw mawr, a than felldithion y cyfammod toredig, ac felly yn ddarostynedig i bob trueni yn y byd a'r bywyd presenawl, i angeu naturiawl, a phoenau tragywyddawl yn oes oesoedd. Yr oedd Adda yn ngardd Eden ar ben bryn o ddedwyddwch naturiawl, ond efe a syrthiodd oddi yno i waelod dyffryn o drueni ysbrydawl, a'i holl hiliogaeth gydag ef.

3. Pan byddot ti, enaid, yn rhodiaw yn yr ardd, cofia am Iesu Grist yn ngardd Gethsemane, yn chwysu megys defnynau o waed i'r llawr, wrth ddwyn a dyoddef rhan o'r felldith a ddygodd yr Adda cyntaf i mewn yn ngardd Eden, trwy gredu y diafol o flaen credu Duw y gwirionedd.

4. Pan byddot ti yn rhodiaw yn yr ardd, cofia am degwch a ffrwythlondeb eglwys Dduw, yr hon sydd yn cael ei galw yn ardd yn aml yn y Bibl; ac yn yr ardd yma y mae chwech o flodau gogoneddus yn arogli yn beraidd yn y byd yma. 1. Gostyngeiddrwydd. 2. Amynedd. 3. Cariad brawdol. 4. Gwybodaeth egwyddorawl. 5. Santeiddrwydd bywyd. 6. Sel dros ogoniant Duw.

5. Nid oes un peth dymynol yn tyfu mewn gardd o hono ei hun, ond yr hyn sydd yn cael ei blanu ynddi, felly nid

oes un peth dymynawl yn tyfu yn eglwys Dduw, ond yr hyn y mae Duw yn ei blanu ynddi.

6. Y mae llawer o chwyn â llysiau niweidiawl yn dueddawl i gyfodi mewn gerddi; felly y mae llawer o ragrithwyr yn dueddawl iawn o gyfodi yn eglwys Dduw yn mhob oes o'r byd.

7. Y mae llawer o bryfed niweidiawl yn dueddawl i fagu mewn gerddi, ac yn difa llawer o gryfder y blodau a'r llysiau dymynawl sydd ynddi i gerdded; felly mae pedwar pryf niweidiawl yn dueddawl iawn i fagu yn eglwys Dduw, 1. Cyfeiliornadau mewn athrawiaeth. 2. Dirywiaeth mewn dyscyblaeth. 3. Hunan a balchder. 4. Rhagfarn a pharthawl sel; dyma bedwar pryf gwenwynig sydd yn difa llawer o rym crefydd yn y profiad, ac yn yr ymarferiad i gerdded. O Arglwydd ti yw Creawdwr fy meddwl, er fod fy meddwl I wedi myned yn llygredig, ti elli di ei santeiddiaw.

Pan byddwyf yn rhodiaw yn yr ardd naturiawl, a'm meddwl yn ysgafn, yn ysmala, ac yn gysurus, O arwain di fy meddyliau tua gardd Eden, i weled y ffynnon ddechreuawl o bob amgylchiad truenus sydd yn y byd gwageddus hwn.

A phan y byddwyf fi yn rhodiaw yn yr ardd, yn alarus wrth feddwl mor lleied o flodau santeiddrwydd sydd i weled arnaf.—O Arglwydd, arwain di fy meddyliau tu a gardd Gethsemane i weled y ffynnon, o ba un y mae fy holl gysur a'm llawenydd ysbrydawl yn tarddu.

O fendigedig Ysbryd Glan, pan byddwyf fi yn rhodiaw yn yr ardd naturiawl, ac yn edrych ar y ffrwythau a'r blodau peraidd sydd ynddi yn arogli. O dere y pryd hyny yn dy nefawl a dy bwerawl weithrediadau grasawl, mewn modd neillduawl i weithredu yn effeithiawl ar fy enaid anfarwawl inau, fel y delwyf finau i flodeuaw mwy mewn crefydd yn dy dŷ, ac i arogli yn beraidd yn y byd drewedig hwn, ac i gynhyddu yn mhob gras, ac i ddwyn ffrwyth er gogoniant i dy enw mawr yn wastadawl tra byddwyf byw yma yn y byd, ac y byddo y ffrwyth yn santeiddrwydd a'r diwedd yn fywyd tragywyddawl.

1 Pan byddwy'n rhodio'r gerddi yn mhlith y blodau hardd,
Mi gofia'r holl drueni ddaeth mewn yn Eden ardd,
Mi gofia'r ffrwyth gwa'rddedig, mi gofia'r poen a'r gwae,
Ddaeth trwy'n rhieni cyntaf, am beidio ufuddâu.

2 Pan byddwy'n rhodio'r gerddi, 'rwy'n llawen ac yn brudd,
'Rwy'n drist wrth gofio Eden, yn wastad nos a dydd;
Wrth gofio gardd Gethsemane, 'rwy'n dechreu llawenâu,
Mi welaf yno ffynnon i olchi'm ffiaidd fai.

3 Pan byddwy'n gwel'd y blodau a'r ffrwythau yn yr ardd,
Mae hiraeth arna'i beunydd am grefydd fo'n fwy hardd;
O Arglwydd gwna fi'n ffrwythlon yn gyson yn mhob man,
Rho dithau wedd dy wyneb i'm henaid eiddil gwan.

---

*Allwedd Myfyrdawd pan fyddo hi yn bwrw gwlaw.*

PAN byddot, enaid, yn gweled cafodydd garw, oerllyd, a thymhestlawg, yn disgyn o'r nefoedd, meddwl, fy enaid, mor ofnadwy y bydd y Duw mawr yn tywallt cafodydd o lid a digofaint, a melldithion yn ddigymysg âg un drugaredd ar ben yr annuwiolion yn y byd tragywyddawl: O fy enaid, ffo idd yr arch cyn y delo y dylif ofnadwy a dychrynllyd yn gafodydd o dân brwmstanllyd, sef digofaint Duw, yn disgyn fel defnynau poethion a llosgedig, yn ddidrai ar ben etifeddion tragywyddawl ddamnedigaeth, sef gwrthodwyr yr iechawdwriaeth rad sydd yn cael ei chynyg yn yr efengyl; ymofyn fy enaid am dŷ diogel a diddos, cyn y gwlawiaw Duw faglau o dân a brwmstan ar ben yr annuwiolion; O fy enaid, dos i glwyfau yr Oen fu dan yr hoelion, cyn delo cafodydd dinystriawl a diddiwedd ar ben holl drigolion dinas dystryw, pa rai sydd yn milwriaw dan faner tywysawg llywodraeth yr awyr.

2. Pan byddo hi yn bwrw cafodydd o wlaw tyner a gwresawg, cofia, fy enaid, am gafodydd bendithion y cyfammod gras.

3. Y mae y gwlaw yn disgyn o'r nefoedd; felly y mae bendithion ysprydawl, neu ras yr efengyl, yn nghyd â phob

rhodd ysbrydawl, oddi uchod y mae yn disgyn, oddiwrth Dad y goleuni, gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad, &c.

2. Y mae y gwlaw yn disgyn yn rhad i bawb, felly y mae bendithion ysbrydawl.

3. Y mae y gwlaw yn meddalâu ac yn ireiddiaw y ddaear, felly y mae bendithion ysbrydawl neu ras Duw, y mae ef yn meddalâu ac yn ireiddiaw calonau sychlyd, celyd, creigaidd, adamantaidd pechaduriaid.

4. Y mae y gwlaw yn peri i'r glaswellt, a'r llysiau, a'r egin i lasu, i dyfu, ac i ffrwythaw; felly y mae bendithion ysbrydawl yn dwyn y Cristion i gynnyddu mewn gras, i lasu mewn proffes, ac i ddwyn ffrwyth er gogoniant i Dduw.

O ddaionus Arglwydd, yr hwn ydwyt yn gwlawiaw cafodydd o wlaw naturiawl ar y cyfiawn a'r annghyfiawn, gwlawia gafodydd o wlaw ysbrydawl ar fy enaid inau, i feddalâu fy nghalon galed, i ireiddiaw fy ysbryd sych, fel y byddo i mi gynnyddu mwy yn mhob gras, mewn ffydd, mewn gobaith, mewn cariad, ac mewn mwy o sêl dros dy ogoniant, ac i'r dyben i'm dwyn i lasu mwy yn fy mhroffes, ac i ddwyn mwy o ffrwyth er dy ogoniant tra byddwyf yma yn y byd.

1 Arglwydd, gwlawia ar fy ysbryd,
   Gafod hyfryd nos a dydd,
I'm gwneud i lasu yn fy mhroffes,
   Ac i gadarnâu fy ffydd;
Mae dail fy mhroffes 'mron a chrinaw
   Gan wres llygredd sy ynddwy'n bod,
O gwlawia eto ar fy enaid
   Gafod hyfryd er dy glod.

2 Mae fy ysbryd wedi sychu,
   'Rwy'n ddifater ddydd a nos,
Arglwydd, gwlawia ar fy enaid,
   O fendithion angeu'r gro's;
Gwna fi'n iraidd, gwna fi'n ffrwythlawn;
   Tra b'wyf yma ar y llawr,
Dwg fy enaid i fyfyriaw,
   Ar y tragwyddoldeb mawr.

3 Mae rhyw sychder hir yn aros,
Ar yr eglwys yn mhob man,
'Y mae'r egin mân yn gwywaw,
Ac heb dyfu fawr i'r làn;
Arglwydd agor dy drysorau,
Gwlawia o'th fendithion rhad,
Fel bo'th eglwys i flodeuaw,
Ac i ffrwythaw yn mhob gwlad.

## *Allwedd Myfyrdawd wrth sylwi ar y gwlith.*

FY enaid, pan byddot ti yn rhodiaw allan yn y boreu gwlithawg, ac yn clywed yr adar mân yn canu ac yn dadsain amrywiaethau o beroriaethau hyfryd, fel pe byddent â'u holl egni yn canmawl y Duw a'u cadwodd yn fyw yn y gauaf oer, a phan byddot ti yn gweled y gwlith iraiddlawn yn ddefnynau ffrwythlonawl ar yr holl lysiau gwyrddlas, ar y blodau ardderchawg, ac ar yr holl egin cynhyddawl, ar yr holl goedydd deiliawg i gyd, meddwl a myfyria lawer ar rasusau santeiddiawl a bendithion ysbrydawl yr efengyl, pa rai sydd yn cael eu cydmaru i wlith yn aml yn yr ysgrythyrau.

1. Mae y gwlith yn disgyn yn ddirgelaidd ac yn anweledig, felly y mae bendithion ysbrydawl a gras yr efengyl.

2. Mae y gwlith yn adfywiaw yr egin a'r planigion ag oedd yn ymddangos o'r blaen yn wywedig ac yn farwedd; felly y mae bendithion ysbrydawl yn adfywiaw y saint, ac yn ireiddiaw eu profiadau.

3. Mae y gwlith yn disgyn yn anrhwystradwy, nid oes neb a all ei rwystraw nac ei attal; felly y mae bendithion ysbrydawl yn dyfod i bechaduriaid.

4. Mae y gwlith yn dyfod o'r nefoedd ac yn disgyn oddi uchod: felly y mae pob bendith ysbrydawl yn dyfod i bechaduriaid: "Pob rhoddiad daionus a phob rhodd ber-

ffaith, oddi uchod y mae yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni, gyda yr hwn nid oes gyfnewidiad na chysgawd troedigaeth."

5. Mae y gwlith yn aml ac yn aneirif, nid oes neb a all eu cyfrif; felly y mae bendithion yr Iehofa; mae y saint yn cael eu bendithiaw a phob bendith ysbrydawl yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu.

6. Mae y gwlith yn rhad i bawb fel eu gilydd; felly y mae bendithion ysbrydawl: "Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." O Arglwydd daionus gwlawia wlith bendith i fy enaid inau, i ireiddiaw fy mhrofiad, ac i fy ngweud yn ffrwythlawn yn dy winllan, cyn yr elwyf ac na byddwyf mwy. Amen.

Arglwydd gwlawia arnai'n gyson,
O fendithion angeu'r gro's,
Gwna fi'n iraidd yn fy mhrofiad,
Yma'n wastad ddydd a nos;
Gwna fi'n ffrwythlawn ac yn iraidd,
Gwna fi'n llariaidd yn mhob lle,
Gwna fi'n addfed i dd'od adref,
I drigfanau pur y ne'.

---

### *Allwedd Myfyrdawd wrth edrych ar yr Haul.*

PAN byddot ti, enaid, yn edrych ar yr haul naturiawl ddysclaer sydd yn y ffurfafen, cofia am Iesu Grist, Haul mawr y cyfiawnder, yr hwn sydd gan mil mwy dysclaer nâ yr haul naturiawl, pan y byddo yn dyscleiriaw yn ei nerth.

1. Meddwl mai yr haul yw ffynnon goleuni naturiawl, felly Crist yw ffynnon goleuni ysbrydawl.

2. Nid oes ond un haul, felly nid oes ond un Crist, un Cyfryngwr yn iawn, un cyfiawnder i wisgaw pechadur.

3. Y mae yr haul yn oleuni pur heb ddim brychau, felly mae Crist yn oleuni pur a difrychau o ran ei berson dwyfawl a'i natur ddynawl, y mae yn berffaith Dduw, ac yn berffaith ddyn.

4. Y mae yr haul yn gwresogi y ddaear, felly mae Crist, Haul y cyfiawnder, yn gwresogi calonau oerllyd pechaduriaid.

5. Y mae y cymylau yn ein rhwystraw ni yn aml i weled yr haul, felly y mae cymylau o dywyllwch ac annghrediniaeth yn ein rhwystraw ni yn aml iawn i ganfod yr Iesu, Haul y cyfiawnder.

6. Y mae yr haul yn addfedu yr ŷd yn amser y cynhauaf, felly mae Crist, Haul mawr y cyfiawnder, y mae efe yn addfedi y saint i'r nefoedd: O Iesu, Haul y cyfiawnder, gwresoga fy nghalon oerllyd inau, a gwasgara yr holl dew gymylau duon sydd yn cyfodi i fynu rhyngwyf a gwedd dy siriawl wyneb: O Iesu gwerthfawr, ymddyscleiria ar dy bobl, ac addfeda finau, trwy dy nefawl oleuni gwresogawl, i fyned i mewn at y tragywyddawl deulu addfed sydd yna ger dy fron. O Arglwydd, prysura yr amser hyfryd, pan y delo hi yn hâf ar Sïon, ac ymwel â'r hen Iuddewon, a'r Paganiaid, a'r Indiaid gwylltion, a'r Negroes duon, fel â chodiad haul o'r uchelder; a'r rhai sydd yn gorwedd yn mro a chysgawd angeu a ddelo i weled goleuni mawr: a phrysura yr amser pan y byddo muriau Babel yn dyfod i lawr, a phan y byddo putain Babel, mam ffieidd-dra y ddaear, farw—fe gân clychau yr hen efengyl yn fwy peraidd nag erioed.

1 O Iesu, Haul cyfiawnder glân,
Ennyna'm calon I o dân;
Dyscleiria ar fy enaid gwan,
Nes d'od o'r anial fyd i'r làn.

2 Ennyna'm calon Iesu cu,
Yn dân o gariad atat ti,
A gwna fi'n wresawg yn dy waith,
Tra byddwyf yma ar fy nhaith.

3 A gwna fy nghalon dywell I,
Yn oleu trwy'th oleuni di;
Gwasgara'r holl gymylau'i gyd,
Sy'n cuddiaw gwedd dy wyneb pryd.

---

### *Allwedd Myfyrdawd wrth edrych ar y Lleuad.*

PAN byddot ti, Gristion, yn edrych ar y lleuad,

1. Rhyfedda anfeidrawl ddoethineb y Duw mawr yn ngwaith y greadigaeth, yn ei waith ef yn gosawd yr haul i oleuaw ac i lywodraethu y dydd, a'r lleuad i oleuaw ac i lywodraethu y nos.

2. Meddwl am eglwys Dduw, yr hon sydd yn cael ei chyffelybu i'r lleuad, a hyny yn y Bibl.

1. Fel y mae y lloer yn derbyn ei goleuni oddiwrth yr haul, felly y mae yr eglwys yn derbyn ei goleuni oddiwrth Grist, Haul y cyfiawnder.

2. Fel y mae brychau yn ymddangos yn y lleuad pan byddo hi yn ymddangos yn fwyaf dysolaer, felly y mae eglwys Dduw a phob gwir gredadyn, y mae brychau o anmherffeithrwydd yn ymddangos ynddo pan y byddo ef yn fwyaf dysclaer, ac y mae ôl ei fysedd duon, hyd y nod, yn ei gyflawniadau gorau ef lawer gwaith.

3. Fel y mae y lleuad yn gyfnewidiawl, felly y mae eglwys Dduw yn y byd yma, y mae yn cyfnewid yn aml. 1. O ran ei phrofiad. 2. O ran ei llwyddiant; y mae yma weithiau yn llanw ar brofiad y Cristion, weithiau yn dlawd, weithiau yn gyfoethawg, weithiau yn drist, weithiau yn llawen, weithiau i lawr dan odrau y mynyddoedd yn ngwaelod glyn wylofain yn galaru; pryd arall ar ben y bryniau yn llawenâu yn ngolwg cyrau y wlad; weithiau yn ngwaelod dyffryn Baca, pryd arall ar ben Pisca, yn barod i waeddi ffarwel ddaear.—O Arglwydd, pa bryd y caf fi dd'od adref o fyd cyfnewidiawl i'r byd annghyfnewidiawl, o'r byd amserawl i y byd tragywyddawl? O pa bryd y daw y boreu y câf fi

ddyfod yn ddysclaer heb un brycheuyn i weled arnaf, na chyfnewidiad yn fy mhrofiad byth ond hyny.

1 'Rwyf yma fel y lleuad, yn llawn o frychau sydd,
Cyfnewid mae fy mhrofiad I'n wastad nos a dydd ;
Ond os caf byth dd'od adref, trwy glwyfau Adda'r ail,
Ni bydda'i mwy fel lleuad, ond dysclaer fel yr haul.

2 'Rwy'n awr yn llawn tywyllwch, a brychau duon sydd,
Yn gwneud i mi alaru, yn gyson nos a dydd ;
'Rwy'n debyg iawn yn wastad i'r lleuad ar y llawr,
Gwyn fyd na chawn ddo'd adre' i'r trag'wyddoldeb mawr.

3 'Rwy'n ffaelu bod yn ddysclaer, fel haulwen yn y byd,
Mae ynof gyfnewidiad fel lleuad fawr o hyd ;
'Nol i mi fyn'd i'r gwynfyd, ffarwel gyfnewid mwy,
Mi ganaf yn drag'wyddawl am rinwedd marwawl glwy'.

---

## *Allwedd Myfyrdawd wrth ddal yr Aradr.*

PAN byddot ti, y llafurwr, yn taraw dy llaw wrth yr aradr,

1. Cofia fod arnat rwymau neillduawl i daraw dy law wrth aradr Duw, sef yr efengyl, neu cofia fod arnat rwymau neillduawl i wneuthur proffes gyhoeddus o Grist croeshoeliedig, ac i wneuthur arddeliad digywilydd o hono yn wyneb cenhedlaeth wyrawg a throfaus, oblegyd y mae Crist wedi dywedyd, "Pwy bynag a'm arddelo I a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon, minau a'i arddelaf yntau yn ngwydd fy Nhad a'r angylion santaidd, a phwy bynag sydd a chywilydd ganddo fi a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon, fe fydd cywilydd gan Fab y dyn ei arddel yntef pan ddelo ef yn ngogoniant ei Dad, a'r angylion santaidd gydag ef."

2. Cofia fel y mae yr aradr yn tôri y ddaear ac yn ei gwneuthur yn gymwys i dderbyn yr hâd, felly y mae gair Duw, yn llaw yr Ysbryd tragywyddawl, yn dryliaw ac yn troi calonau celyd creigaidd pechaduriaid, ac y mae y gair fel offeryn yn llaw yr Ysbryd Glân i blanu yr hâd anllygredig yn yr enaid.

3. Cofia fel y mae yr aradr yn diwreiddiaw yr holl laswellt a'r holl lysiau o'i blaen, felly y mae gair Duw pan y byddo ef yn gryf ac effeithiawl yn llaw yr Ysbryd tragywyddawl, y mae efe yn diwreiddiaw yr holl chwerw a'r gwenwynig lysiau sydd yn tyfu yn ngardd natur o'i flaen; y mae chwech math o lysiau gwenwynllyd yn tyfu yn ngardd natur, ag y mae yn rhaid iddynt gael eu dystrywiaw gan air ac Ysbryd Duw cyn caffo y pechadur fyned i'r nefoedd. 1. Gelyniaeth yn erbyn Duw. 2. Anngbrediniaeth i air Duw. 3. Anfoddlonrwydd i drefn Duw. 4. Balchder ar gefn rhoddion Duw. 5. Anniolchgarwch am drugaredd Duw. 6. Annghof o berffeithder Duw.

4. Cofia fel y mae yn ofynawl ac yn angenrheidiawl i'r aradrwr i gadw ei olwg yn wastad yn y blaen, mewn trefn i ddal y gwys yn gyson ac yn wastad, felly y mae yn ofynawl i bob Cristion ag sy wedi taraw ei law wrth aradr Duw i gadw ei olwg yn wastad yn mlaen, a pheidiaw edrych yn ol, oblegyd y mae Crist wedi dweud am yr hwn sydd yn taraw ei law ar yr aradr, ac yn edrych ar y pethau sydd o'r tu ol, nad yw ef ddim yn gymwys i fyned i mewn i deyrnas Dduw. O Arglwydd, cadarn a galluawg, nertha fi bechadur gwael a dinerth i daraw fy llaw wrth yr aradr ysbrydawl, i wneuthur proffes gyhoeddus o honot, a'th arddel yn ddigywilydd yn wyneb gwawdwyr a difygwyr.—O Arglwydd, paid a'm gadael i edrych yn ol, ond cadw fy nghalon yn wastad yn y blaen hyd ddiwedd fy ngyrfa, a nertha fi i barâu yn ffyddlawn ac yn ddigwymp hyd y diwedd, a hyny er gogoniant i'th enw, er siom i ddiaflaid, er siampl i annuwiolion, er llawenydd i dduwiolion, ac er cysur i fy enaid fy hun; ac O Arglwydd, pâr i fod y gair yn llaw yr Ysbryd Glân fel aradr i rwygo fy nghalon galed, ac i ddiwreiddiaw yr holl lysiau gwenwynllyd sydd yn fy nghalon, a gwna fy nghalon fel tir da i dderbyn yr hâd gwerthfawr, yr hwn a ddichon gadw yn fyw fy enaid i fywyd tragywyddawl.

1 O Arglwydd Dduw'r llafurwr mawr,
Rho nerth i'th eiddil was yn awr,
I ddal dy aradr di o hyd,
Tra byddwyf yma yn y byd.

2 Rho nerth i'th arddel, Arglwydd mawr,
Tra byddwyf yma ar y llawr;
A chadw 'ngolwg yn y bla'n
Trwy bob tembestlawg ddw'r a thân.

3 O gwna dy air fel aradr llym,
I wneud fy mhechod oll yn ddim;
Diwreiddia'r llysiau drwg y sy
Yn tyfu yn fy nghalon I.

4 O Iesu, gwna dy air yn awr,
I'm henaid I fel aradr fawr,
I ddrylliaw 'nghalon galed gau,
Fel delwy'th garu yn ddidrai.

---

## *Allwedd Myfyrdawd wrth fedi y Cynhauaf.*

PAN byddot ti, bechadur, yn medi y cynhauaf,

1. Cofia am gynhauaf mawr yr efengyl, "Y cynhauaf yn ddiau sydd fawr, ond y gweithwyr ffyddlawn sy yn anaml."

2. Pan byddot ti yn codi yn fore yn amser y cynhauaf, ac yn gweithiaw yn ddiwyd o'r boreu hyd yr hwyr, cofia, fy enaid, i godi yn moreuddydd dy ieuenctyd, a bod yn ddiwyd holl ystod dydd dy fywyd i ymofyn am adnabyddiaeth o iachawdwriaeth, ac addfedrwydd i fyned i'r nefoedd cyn y delo y gauaf dû tragywyddawl.

3. Pan byddot ti yn medi y cynhauaf, cofia am y cynhauaf mawr sydd yn agosau, sef dydd mawr y farn fanol, pan byddo Iesu Grist, Angel mawr y cyfammod, yn dyfod ac yn bwrw i mewn ei gryman llym i fedi canghenau gwinwydden y ddaear, ac yna fe gasgl Iesu yr holl wenith, sef y gwir ffyddloniaid, i mewn i'r ysgubor dragywyddawl, sef i'r gogoniant fry, ac a rwyma yr holl efrau, sef yr holl ragrithwyr a'r annuwiolion yn ysgubau, i'w llwyr losgi yn y dragywyddawl danllwyth ferwedig, lle y bydd mŵg eu poenedigaeth yn esgyn i fynu yn oes oesoedd.

O ddaionus Arglwydd, rhwyma fi trwy dy Ysbryd yn rhwymyn y cyfammod newydd, yn nydd gras, fel na byddo i'th gyfiawnder dialeddawl fy rhwymo I yn rhwymyn y cyf-

ammod o weithredoedd dros byth yn nydd barn.—O Iesu hawddgar, rhwyma fi yn awr gyda'r gweniih yn nydd gras, fel na byddo i mi gael fy rhwymaw gyda yr efrau yn nydd barn; a nertha fi i fod yn ddiwyd ac yn llafurus yn nydd gras fel na byddo i mi orfod dywedyd yn nydd y farn, Fod yr haf wedi darfod, a chynhauaf yr enaid wedi myned heibiaw, a finau heb fod yn gadwedig.

1 Mae, mae'r—Cynhauaf hyfryd yn parâu,
Mae'r Iesu'n galw ar bob rhai,
I fod yn ddiwyd ar y llawr
I 'mofyn iechydwriaeth rad,
Cyn delo'r trag'wyddoldeb mawr.

2 Daw, daw'r—Cynhauaf olaf maes o law,
Daw Crist a'i gryman yn ei law,
I dori pawb sydd yma'n byw,
Fe lysg yr efrau oll i gyd,
A'r saint ddaw'n nghyd i 'sgubor Duw.

3 Bydd grym—Anfeidrawl yn y cryman llym,
Fydd yn llaw'r Iesu'r amser hyn,
I fedi pawb sydd ar y llawr,
Pob gradd a galwad yn y byd,
Rhaid d'od yn nghyd i'r frawdle fawr.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth fyned i'r maes i loffa.*

PAN byddot ti, ddyn llwm a thlawd, yn myned i'r maesydd i loffa,

1. Cofia am yr hen Ruth gynt yn myned i loffa i faesydd Boaz, a'i bod yn cael lloffa tywysenau rhwng yr ysgubau yn maes Boaz ei chyfachrachwr.

2. Cofia fod genyt tithau Gyfathrachwr agos, a'i enw Iesu, ac y mae ganddo faesydd helaeth i gael, sef maesydd gwynion yr hen efengyl, ac y mae groesaw i'r tylodion yn yr ysbryd, i fyned yn ddiberygl i faes yr efengyl, i loffa tywysenau breision o felus gysuron, rhwng ysgubau yr addewidion rhad, pa rai sydd yn aneirif yn yr efengyl.—O Iesu addfwyn, a gaiff y fath bechadur aflan a fi, i droi dalenau dy santaidd air â'm dwylaw aflan ac halogedig i ymofyn cys-

uron rhwng yr addewidion : diolch i ti, Arglwydd, am roddi dy air, a diolch i ti, Iesu, am fedru darllen dy air, diolch i ti am rydd-did i chwiliaw dy air, a diolch i ti am ysgubau yr addewidion, ac am ddim lloffa o gysuron a gafodd fy enaid erioed rhwng yr addewidion. O Arglwydd, cadw fi yn fyw ar y lloffa, nes i mi ddyfod adref i'r Ganaan nefawl, i gael bwyta o hen ŷd y wlad.

1 Arglwydd arwain y tylodion,
I'r maesydd gwynion, sef dy air,
'Loffa rhwng yr addewidion,
Cysur ddigon yno geir;
Mae myrddiynau o fendithion,
A chysuron o bob rhyw,
'N maesydd gwynion yr efengyl,
I bawb gredo yn Mab Duw.

2 Dewch dylodion, dewch rai eiddil,
I faes yr efengyl lawn,
Ni gawn loffa yno beunydd,
O foreuddydd hyd brydnawn;
Y mae yma d'wysenau breision,
Rhwng yr addewidion rhad,
A chysuron dan bob croesau
Trwy rinweddau maith y gwa'd.

3 Chwiliwch bawb yr ysgrythyrau,
Ydyw geiriau Crist Mab Duw,
Y mae yma lawn d'wysenau,
Gadwant eich eneidiau'n fyw;
Gyda Ruth i faesydd Boaz,
Dewch yn addas bawb o'r bron,
Y mae yma wir d'wysenau,
Wnant eich prudd eneidiau'n llon.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth ddechreu Taith bell.*

PAN byddot ti, enaid, yn dechreu ar daith bell,

1. Meddwl a chofia dy fod wedi dechreu teithiaw tua y wlad a'i henw tragywyddoldeb, ar y fynyd yr anadlaist yr

anadliad cyntaf erioed yn y byd yma, a'th fod yn cael dy gario yn gyflym yn ngherbyd amser tuag ardaloedd dyeithr byd yr ysbrydoedd, ac yn mhen ychydig bach o amser ti a fyddi yn gorphen dy daith a'th yrfa, naill ai mewn tragywyddawl wynfyd, neu mewn tragywyddawl wae, naill ai yn mhlith ysbrydion gwynfydedig, neu yn mhlith ysbrydion damnedig!

2. Pan byddot ti yn dechreu teithiaw, y mae genyt ryw ddyben yn dy olwg yn wastad yn dy waith yn myned i deithiaw; felly tithau, Gristion, pan byddot ti yn dechreu ar dy daith a'th yrfa ysbrydawl, mewn ffordd grefyddawl, cofia holi dy hunan beth yw dy ddyben di yn dy waith yn cymeryd i fynu â chrefydd Mab Duw; cofia mai gogoniant mynegawl y Duw mawr a ddylai fod yn benaf yn dy olwg yn wastad; gochel gymeryd i fynu â chrefydd ar gau ddybenion, gochel gymeryd i fynu â chrefydd er mwyn cael clod gan ddynion, nac er mwyn cael anrhydedd bydawl, nac er mwyn boddloni perthynasau, nac er mwyn cael cyfeillach â'th hen gyfeillion, pa rai sydd wedi myned i broffesu crefydd o'th flaen di, nac ychwaith yn unig er mwyn tawelu llais cydwybod, oblegyd nad yw yr holl bethau hyn i gyd ond gau sylfaenau; pethau cyffelyb i'r tywawd, ac fe ddaw llifogydd erledigaethau, a gwlaw profedigaethau yn mhen amser i guraw arnat, ac fe ddaw dy holl grefydd di i lawr yn chwilfriw, ac yna fe fydd dy holl deithiaw di yn yr yrfa grefyddawl i gyd yn ofer.

3. Pan byddot ti yn dechreu ar daith naturiawl, yr ydwyt yn gyntaf yn bwrw y draul, i edrych a oes genyt ddigon o fodd i'th ddwyn a'th gynnal trwy y daith hono; felly tithau, Gristion, pan byddot ti yn dechreu ar dy daith grefyddawl, cofia yn gyntaf i fwrw y draul, i edrych a oes genyt ddigon o grefydd i'th gynnal yn fyw ar dy daith, rhag wedi i ti ddechreu teithiaw, i ti newynu, a marw ar y ffordd cyn myned i ben dy daith, sef i dref Caersalem Newydd.

4. Pan byddot ti ar daith naturiawl, mewn gwlad ddyeithr, yr ydwyt yn gofyn y ffordd yn aml; felly tithau, Gristion, tra byddot ti yn teithiaw mewn gwlad ddyeithr, trwy anialwch dyrus y byd presenawl, lle y mae miloedd o

ffyrdd croeson a chorsydd lleidiawg, cofia yn wastad i ofyn am y ffordd tua Sion, ac ymdrechu i gadw y llwybr cul, rhag i ti golli y ffordd mewn gwlad ddyeithr, yn nghanol anialwch, a thithau yn mhell oddi gartref, a haul dy fywyd yn mron a machludaw.

5. Pan byddot ti ar dy daith naturiawl yn lluddiedig ac yn flinedig, yr ydwyt yn hiraethu llawer am ddyfod i ben dy daith i gael bwrw dy flinder, ac i gael gorphwys oddiwrth dy ludded a'th drafferth blin; felly tithau, Gristion, cofia dithau hiraethu llawer am ddyfod i ben dy daith, i gael gorphen dy yrfa mewn llawenydd, fel y byddo i ti gael gorphwys oddiwrth yr holl flinder, y llafur, a'r lludded blin, sydd yma ar y llawr.—O Arglwydd, pan byddwyf fi ar fy nhaith naturiawl yn y byd presenawl, dere â fi i ystyried fy mod I yn teithiaw yn gyflym tua yr annherfynawl tragywyddoldeb, a'm bod I bob mynyd yn tynu yn nes i yr tragywyddawl ardaloedd, lle y mae anweledig ysbrydoedd yn preswyliaw. O Arweinydd y pererinion, arwain finau ar hyd y llwybr cul sydd yn arwain i'r ddinas gyfanneddawl, lle y mae rhai lluddiedig yn rhoddi eu penau i lawr; ïe, i'r wlad lle y mae porfeydd breision a dyfroedd tawel, lle y mae y newynawg yn cael gwledda ar y llo pasgedig, a'r rhai sychedig yn cael drachtiaw o ffrydiau gloyw dysclaer grisialaidd gwin cariad yr Iehofa, tragywyddawl Dri yn Un.—O Arglwydd, paid a'm gadael i ddechreu ar fy ngyrfa grefyddawl, nes i mi yn gyntaf fwrw y draul, ac edrych a yw gwreiddyn y mater yn fy nghalon, a gwared fi rhag cario arian drwg rhagrith yn llogell fy ngwisg grefyddawl, oblegyd y mae nôd ac argraff tywysawg llywodraeth yr awyr ar y rhai hyn, ac ni phasia y rhai hyn yn un man yn ol myned trwy afon marwolaeth, ond yn y wlad, a'i henw tragwyddawl ddystryw: O dyro i mi gael tri ysgrif-nôd o drysorfa tref Caersalem Newydd, sef ffydd, gobaith, a chariad; canys y mae nôd ac argraff y brenin Alpha ar y rhai hyn, ac fe fyddant yn gyflawn yn yr anllygredig ardaloedd yn nghlorianau y brenin Silo.

1 'Rwy yma'n teithiaw'n awr o hyd,
Bob dydd tua'r annerfynawl fyd;
'Rwy'n d'od bob mynyd a phob awr,
Yn nes i'r trag'wyddoldeb mawr.

2 'Rwyf yma'n teithiaw yn y byd,
Mewn gwlad ddyeithr iawn o hyd;
Mae hiraeth ar fy enaid gwan,
Am dd'od o'r anial fyd i'r làn.

3 'Rwyf 'mron a myn'd yn lân heb nerth,
Wrth edrych ar y tylau serth,
A'r holl anialwch dyrus maith,
'Rwy'n gwrddyd yma ar fy nhaith.

4 'Rwy'n mron a chredu lawer gwaith,
Na ddof fi byth i ben fy nhaith,
Wrth wel'd yr holl anialwch mawr,
Sydd ar y ffordd 'rwy'n teithiaw 'nawr.

5 O Iesu hawddgar, arwain fi,
Trwy waelod glyn wylofain du;
A cherdd dy hunan o fy mla'n,
Nes delwyf mewn i'r Ganaan lân.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth rodiaw yn mhlith y Beddau.*

PAN byddot ti, enaid, yn rhodiaw yn mhlith y beddau,

1. Cofia fyfyriaw am ddrwg pechod; oblegyd mai pechod yw yr achaws fod dynolryw yn myned yn dyrfaoedd dirifedi i waered tua gwlad y meirw; canys cyflawg pechod yw marwolaeth, a thrwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, ac fe ddaeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb.

2. Pan byddot ti yn rhodiaw yn mhlith y beddau, cofia am ansertenrwydd bywyd, yn nghyd â sicrwydd a sertenrwydd marwolaeth; oblegyd ti a gei weled fod yma rai o bob maintioli ac oedran yn garcharorion o dan law angeu, yn gorwedd yn y bedd.

3. Cofia beidiaw ymddiried mewn cyfoeth a golud anwadal; oblegyd na thycia cyfoeth ddim yn nydd digofaint, ac ni all cyfoeth y mwyaf cyfoethawg ddim ei wared rhag angeu; oblegyd ti gei weled wrth rhodiaw yn mhlith y beddau,

fod yma rai o'r rhai mwyaf cyfoethawg yn yr un gradd a'r tlodion, yn pydru yn y bedd; ac ni weina cyfoeth ddim cysur ysbrydawl i neb yn wyneb angeu; ac fe fydd cyfoeth y mwyaf cyfoethawg yn ei adael ef dros byth ar làn ymchwydd tonau yr Iorddonen; oblegyd yn noeth y daethom i'r byd, ac yn noeth y dychwelwn o hono.

4. Cofia mai gradd mawr o ynfydrwydd yw i ti fyned i ymfalchiaw ar dy gryfder a'th lendid, ac ar dy degwch, oblegyd ti gei weled wrth rodiaw yn mhlith y beddau, fod yma rai fu mor laned a thithau, ac mor gryfed eu haelodau a thithau, ac mor deg a hawddgar eu gwedd a thithau, yn awr wedi pydru yn y bedd, ac angeu wedi ymborthi arnynt, a'u holl degwch wedi darfod yn y bedd o'u cartref.

5. Cofia beidiaw diystyru cyfeillach a chwmpeini y tlodion, nac ychwaith paid chwennych cyfeillach a chwmpeini gwyr mawrion, wrth ystyried mai pryfed mân y llwch fydd cwmpeini a chyfeillion goreu dy gorph, yn mhen gronyn bach o amser, lawr yn nhywyll ystafellau y bedd.

6. Cofia beidiaw chwennych danteithion melus a moethus y byd yma, i borthi blys dy enau, wrth ystyried mai pridd y ddaear fydd yn llanw y geneuau mwyaf moethus, a hyny yn mhen ennyd fechan o amser, a hyny lawr yn mhalas y bedd, yn ardaloedd gwlad marwolaeth.

7. Cofia beidiaw gloddesta na gwledda ar ormod o ddanteithion y byd yma, na bwyta nac yfed i ormodedd, i besgi dy gorff yn y byd yma, wrth ystyried mai gwledd ac ymborth i bryfed mân y llawr fydd dy gorff di yn mhen rhyw ychydig bach o amser.—O Arglwydd, ti yw y Brenin anfarwawl, pan y byddwyf yn rhodiaw yn y fynwent, yn mhlith marwolion, O, arwain fy meddwl i weled drwg pechod, oblegyd pechod yw yr achaws o'r annhrefn sydd wedi cymeryd lle yn y byd presenawl hwn. O Arglwydd, gwared fi rhag ymddiried mewn golud anwadal, ond ynot ti y Duw byw, oblegyd na wnaiff cyfoeth na holl drysorau daear un lles i fi yn wyneb angeu: O Iesu hawddgar, yr hwn a fuost yn angeu i angeu, ac yn dranc i'r bedd, O, bydd yn Frawd, yn Briod, yn Drysor, ac yn bob peth i minau, ac yna mi allaf wynebu angeu â gwenau ar fy wyneb, a heddwch dan fy mron.

O paid a'm gadael i fyw yn ysgafn ac yn ysmala yn nyddiau fy ieuenctyd, ac i fod yn ddifater ac yn anystyriawl yn nghylch fy enaid anfarwawl sydd yn tynu yn gyflym tua y byd tragywyddawl, oblegyd nad oes genyf un *lês* ar fy mywyd, er fy mod I yn awr fal blodeuyn yn y boreu, ond mi a fyddaf erbyn y prydnawn wedi gwywo. O, gwared fi rhag cariaw enw o grefydd yn y byd presenawl, ac i fyned yn y blaen yn hyderus tua glàn afon marwolaeth, ar gefn gau obaith, ac yno yn cyfarfod a'r siomedigaeth fwyaf erioed. O am gael gwir dduwioldeb, ag a ddalio pan byddo y traed yn oeri, pan byddo y dwylo yn ffaelu teimlio; ïe, pan byddo y tafod yn myned yn löyn du yn fy mhen, y llygaid yn colli eu golwg ar wrthddrychau daear, a'r gwaed yn rhewi yn y gwythenau, a dorau mawr tragywyddoldeb yn dechreu agor o'm blaen, a'r ardaloedd dyeithr, lle y mae yr anfarwolion yn preswyliaw, yn dechreu dyfod i'r golwg. O, dyma yr amser y bydd gwir grefydd a duwioldeb yn felus. O Iesu anwyl, bydd gyda mi yn yr amser cyfyng hwn.

1 Pan bwy'n rhodiaw'n mhlith y beddau,
Cofiaf weithiau am yr awr,
Pan b'o nghorff I'n myn'd i waered,
I blith pryfed mân y llawr;
I gael cysgu hûn yn dawel,
Obry'n isel yn y pridd,
Hyd nes bloeddio yr arch-angel,
Yn yr adgyfodiad ddydd.

2 Pan bwy'n rhodiaw'n mhlith marwolion,
Mi gofia'n gyson am yr awr,
Bydd rhaid i mi fyn'd i orwedd,
Dan law'r angeu ar y llawr;
Beth dâl cyfoeth, beth dâl golud,
Beth dâl glendid heb ddim gras?
Pan bwy'n gorfod myn'd o ddifrif,
I wynebu angeu glas.

3 Fe aeth miloedd maith o'm brodyr,
I ardaloedd pell y bedd,
Eu cyrff sydd 'nawr yn mhlith marwolion,
A'u hysbrydoedd fry mewn hedd;

Arglwydd gwna i minau gofio,
A myfyriaw am y dydd,
Y byddaf finau'n myn'd i gysgu,
Obry yn fy ngwely pridd.

---

## *Allwedd Myfyrdawd wrth fyned i'r Gwely y Nos.*

PAN byddot ti, enaid, yn myned i'r gwely y nos,

1. Cofia fod nos angeu yn agosâu, pan caiff dy gorff di fyned i lawr i orwedd, ac i gysgu yn dawel yn y gwely pridd.

2. Pan byddot ti, enaid, yn diosg dy ddillad oddi am danat, cofia ddiosg dy holl hunan-gyfiawnderau i gyd oddi am danat

3. Cofia am yr amser y bydd y wisg o gnawd yn cael ei diosg oddi am dy enaid yn angeu, ac yna fe fydd dy enaid yn myned yn siengl i'r farn fanwl, i roddi cyfrif cywir ger bron y Barnwr cyfiawn, ac i gael ei dragwyddawl goroni, neu ei dragwyddawl gondemniaw, i gael ei dragwyddawl ryddâu, neu ei dragywyddawl rwymaw, i gael ei dragywyddawl fendithiaw, neu ei dragywyddawl felldithiaw, i gael ei dragywyddawl anrhydeddu, neu ei dragwyddawl ddirmygu, i gael ei dragywyddawl gyfoethogi, neu ei dragywyddawl dylodi, i gael ei dragywyddawl gadw, neu ei dragywyddawl golli, i gael ei dragywyddawl ogoneddu, neu ei dragywyddawl waradwyddaw yn y fflamiau ofnadwy obry, yn cael ei sathru a'i ddamsang o dan draed pres colofnawg Iesu dros byth yn y gerwyn uffernawl, dan gafodydd dinystriawl y Duw anfeidrawl, yr hwn sydd yn dân ysol ac yn llosgfeydd tragywyddawl, yn ei gyfiawnder dialeddol yn cospi yr holl rai annghredíniawl a'r anedifeiriawl mewn poenau gwastadawl yn y gwylofus a'r tor-calonus ardaloedd, lle nad oes dim son am faddeuant pechod trwy waed y groes, na thrugaredd byth yn cael ei gyhoeddi na'i bregethu trwy ardaloedd tywyll y wlad hono.

4. Fel ag y mae y gwely yn felus i'r gweithiwr caled, yn ol bod yn ymdrafferthus a llafurus trwy holl oriau hirion maith y dydd; felly, fel y mae Iob yn dywedyd, fe fydd priddellau y dyffryn yn felus i holl weision Iesu maes o law,

yn ol bod yma yn drafferthus ac yn llafurus yn y tywydd garw a'r tymhestloedd, trwy holl oriau meithion ystod dydd eu bywyd, fe fydd priddellau y dyffryn yn felus iddynt i gael gorwedd yn dawel yn y bedd mewn tangnefedd, heb ddim yn eu cyffro nac eu blinaw byth mwy. O Arglwydd, pan byddo y nos naturiawl yn dyfod, O dere â finau i gofiaw am y nos angeu sydd yn agosâu, ac am yr amser y byddaf fi yn taraw fy nhraed wrth y mynyddoedd tywyll; fe fydd haul fy mywyd I yn machludaw yn mhen gronyn, ac fe fydd fy enaid I yn myned i fyd yr ysbrydoedd, a'm corff yn myned i lawr i'r pridd i orwedd.

Pan byddwyf yn diosg fy nillad oddi am danaf, O Arglwydd dere â fi i weled yr angenrheidrwydd sydd arnaf i gael fy niosg o'r bratiau budron o hunan-gyfiawnder sydd am danaf, ac i ddyfod yn noeth, ac heb ddim genyf, i dderbyn Iesu yn bob peth imi byth. O Arglwydd dere a mi i fyfyriaw llawer am yr amser y byddaf fi yn gadael y wisg o gnawd ar ol, ar lan afon Iorddonen angeu, yna dychwel y pridd i'r pridd, neu i'r ddaear fel y bu, ac y dychwel yr ysbryd at Dduw, yr hwn a'i rhoddes ef. Dyma yr amser y bydd fy enaid yn ffarwelaw a'r corph dros amser, ac yn cymeryd ei daith, ac yn ehedeg trwy y meithion ëangderau, uwchlaw Orion a Phleiades, a'r ser a'r planedau mawrion; ac yna fe fydd fy enaid yn dechreu dyfod i olwg bryniau tragywyddoldeb, ac yn dechreu canfod dyeithr wastadedd, a thawel eang faesydd gwlad anfarwoldeb, ac yn gweled y tir pell, a'r brenin Iesu yn ei degwch; ac yna fe fydd fy enaid inau yn cael ei ddwyn ger ei fron i gael fy nghragywyddol sefydlu; naill ai mewn tragywyddawl ac annhraethawl wynfydedigrwydd, yn mhlith miloedd myrdd o ddysclaer ysprydion, pa rai sydd yn dyscleiriaw gan mil mwy dysclaer na'r haul yn y ffurfafen, neu ynte mewn tragywyddawl arteithiau a diderfyn waeau, yn mhlith ysbrydion damnedig, melldigedig, yn y tragywyddawl ffwrnes uffernawl, lle y mae yr holl ddiaflaid, a'r damnedigion, yn ymdrabaeddu, wrth nofiaw tonau berwedig, fflamllyd, brwmstanllyd uffern, dros byth, heb obaith i gael dyfod oddi yno dros dragywyddoldeb. O Arglwydd, nertha fi yn awr yn nydd gras i wrando ar Moses a'r prophwydi, ac ar lais tirion yr efengyl yn ei nefawl alwedigaethau, fel na ddelwyf i'r lle poenus hwn.

1 Pan b'wy'n gwel'd y nos naturiawl,
'Rwy'n meddwl weithiau am yr awr,
Y daw nos angeu i orddiwes
Pawb sydd yma ar y llawr;
Gwawria di, Arglwydd cu,
Y noswaith hono arnaf fi.

2 Pan b'wy'n myn'd i'r gwely i gysgu,
'Rwy'n cofiaw weithiau am y dydd,
Bydd fy nghorph yn myn'd i orwedd,
Obry yn fy ngwely pridd,
Pridd i'r pridd, dyma'r dydd,
Y caiff fy nghorff i ro'i dan gudd.

3 Pan b'wy'n diosg lawr fy nillad,
Mi gofia'n wastad hyn o hyd,
Am ddiosg lawr fy nghyfiawnderau,
Bratiau budron ynt i gyd;
Cyfiawnder gwiw Crist Mab Duw,
Dyma all fy nghadw'n fyw.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth godi y Boreu.*

PAN byddot ti, enaid, yn codi yn y boreu o'r gwely,

1. Cofia fod yn ddiolchgar i Dduw am iddo dy ddiogelu, a'th gynnal, a'th gadw yn fyw o dan lenau y tywyllwch y nos sydd wedi myned heibiaw, ac am nad ydwyt wedi dy gymeryd i gerdded yn nghanol y tywyll nos naturiawl, trwy nos dywyll angeu naturiawl, i'r tywyllwch tragywyddawl i breswyliaw byth.

2. Pan byddot ti yn codi y boreu, cofia holi dy hunan, a ydwyt ti wedi codi o fedd pechod a llygredd, ac o gysgadrwydd ysbrydawl, trwy awdurdod llef Mab Duw, ac a ydwyt ti yn rhodiaw mewn newydd-deb buchedd, ac a ydwyt ti yn bwriadu myned i weithiaw yn ffyddlawn i winllan Iesu, ar ddydd yr efengyl, tra byddo amser cymeradwy, a dydd yr achawdwriaeth yn parâu.

3. Pan byddo ti yn codi y boreu, cofia am foreu yr adgyfodiad yn y dydd olaf; pan fyddo dy gorff yn cael ei godi o'r

bedd, i ddechreu ar foreu-ddydd tragywyddoldeb, lle nad aiff hi byth yn nos ond hyny.

4. Pan byddot ti yn gwisgaw dy ddillad am danat, cofia, 1. Holi dy hunan a ydwyt ti wedi cael dy wisgaw yn nghyfiawnder y Gwr fu rhwng y lladron yn dyoddef, fel nad ymddangoso gwarth dy noethder yn nydd mawr yr ymweliad. 2. Cofia am yr amser y cei dy wisgaw corff ysbrydawl ac anfarwawl, canys rhaid i'r marwawl hwn wisgaw anfarwoldeb, ac fe heuir yn gorff anianawl, ac a gyfodir yn gorff ysbrydawl. O Arglwydd, pan fyddwyf yn codi y boreu, dere a mi i adnabod fy mod I wedi codi o fedd pechod, a chysgadrwydd ysbrydawl; yr wyf wedi bod yn cysgu yn ddigon hir mewn gwely o ddiofalwch, y mae y nos wedi cerdded yn mhell, ac y mae y dydd wedi nesâu, ac y mae yn llawn bryd weithian i minau ddeffroi o gysgu, ac i fwrw oddiwrthyf weithredoedd y tywyllwch, a gwisgaw arfau y goleuni; a phan byddwyf yn gwisgaw fy nillad, O Arglwydd, dyro i mi gael adnabod fy mod I wedi cael fy ngwisgaw â'r wisg ddiwniad, sef cyfiawnder difrycheulyd yr Emanuel gogoneddus; dyma wisg na wel llygad craff dwyfol gyfiawnder un brycheuyn ynddi, ac ni all tân digofaint byth mo'i llosgi, ac ni all y bedd mo'i phydru, ac ni all tragywyddoldeb byth mo'i threuliaw na'i heneiddiaw, ac ni all pechodau duon aflan myrddiynau o bechaduriaid byth mo'i diwynaw na'i gwneud yn fudr. O Dduw, a gaiff y fath wisg werthfawr ddysclaer a hon ei gwisgaw am y fath gardotyn tylawd, aflan a fi?— O! a geir gweled y fath bryf dystadl, priddlyd a fi, yn dysclaeriaw yn y wisg yma, yn fwy dysclaer nâ'r haul yn y ffurfafen, ac yn eistedd yn frenin ar fy ngorsedd-fainc, gyda Brenin y brenhinoedd, a choron o ddeuddeg seren am fy mhen: os dyma fel y bydd, di gei dy felus foli genyf pan byddo y ddaear, a holl wisgoedd gwychion boneddigion annuwiawl y ddaear wedi myned yn fflamiau.

Os caf fi fy ngwisgaw â chyfiawnder Iesu yn y byd presenawl, mi gaf fy ngwisgaw yn berffaith yn y byd tragywyddawl; os dechreuir gwisgaw fy enaid â delw Duw yn yr ail enedigaeth, fe orphenir gwisgaw fy nghorff yn yr adgyfodiad âg anllygredigaeth, ac yna bydd fy nghorff a'm henaid mewn undeb â'u gilydd, yn cael cyflawn fwynâd o bob gwynfyd yn mhresenoldeb fy anwyl Iesu, yn y wlad lle bydd tragy-

wyddawl ddydd heb nos, tragywyddawl hâf heb un gauaf, tragywyddawl lawnder heb ddim prinder, tragywyddawl gyfoeth heb ddim tylodi, tragywyddawl rydd-did heb ddim caethiwed, tragywyddawl orfoledd heb ddim tristwch, tragywyddawl garu heb ddim casineb, tragywyddawl gymundeb a'r Drindod o bersonau, ac â miloedd a myrddiynau dirifedi o seintiau ac angylion, lle na bydd dim dyeithrwch byth ond hyny. O Arglwydd, addfeda finau i'r dragywyddawl gymanfa anllygredig, i gael treuliaw tragywyddawl Sabbath gyda'r Oen, heb friw, na phoen, na gofid.

1 Pan fyddwy'n codi'r boreu, mi gofiaf am y dydd,
Y caiff fy ngorff ei godi i'r làn o'r gwely pridd;
'Nol bod yn cysgu'n dawel mewn graean yn y llawr,
Wrth udgorn yr archangel, mi ddof i'r frawdle fawr.

2 Pan fyddwy'n gwisgaw 'nillad, yn wastad cofiaf hyn—
Fod arnaf eisiau 'ngholchi 'n ngwaed Calfaria fryn;
A'm gwisgaw yn nghyfiawnder, pur ddysclaer Adda'r ail,
Ac yna mi lewyrchaf yn ddysclaer fel yr haul.

3 Mi gofiaf am y boreu gaf dd'od i'r làn o'r bedd,
At Iesu i Baradwys, gael gorphwys yn ei wedd,
Ca'i 'ngwisgaw i dragwyddoldeb âg anfarwoldeb mwy,
A'm dwyn i'r teulu nefawl, trwy rinwedd marwawl glwy'.

---

*Allwedd Myfyrdawd wrth ddysgu'r Egwyddor Gymraeg.*

I. PAN fyddot ti yn gweled y llythyren—A.

1 Cofia am yr *Arglwydd* anfeidrawl.

2 Cofia am yr *Arfaeth* dragywyddawl.

3 Cofia am yr *Aberth* digonawl.

II. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—B.

1 Cofia am *Baradwys,* lle yr oedd dyn ar y dechreu.

2 Cofia am *Bechod* a'i ganlyniadau.

3 Cofia am y *Bedd* lle byddi di yn ddiau.

III. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—C

1 Cofia am y *Cariad* diwaelod.

2 Cofia y *Cyfammod* sefydlawg.

3 Cofia y *Ceidwad* galluawg.

IV. Pan byddot ti yn gweled y llythyren—D.

1 Cofia am y *Duw* diddechreu.

2 Cofia mae *Dyn* wyt tithau.

3 Cofia am y *Dyoddefiadau* mawrion a ddyoddefodd Crist i gymodi Duw a dyn.

V. Pan byddot ti yn gweled y llythyren—E.

1 Cofia am *Euogrwydd* dy bechodau.

2 Cofia *Edifarâu* am dy feiau.

3 Cofia am *Ewyllysgarwch* Duw i faddeu.

VI. Pan byddot ti yn gweled y llythyren—Ff.

1 Cofia am *Ffolineb* dyn yn y dirgel.

2 Cofia am *Ffieidd-dra* putain Babel.

3 Cofia am y *Ffynnon* sydd fel y grisial i olchi pechadur brwnt yn lân.

VII. Pan byddot ti yn gweled y llythyren—G.

1 Cofia am y *Gyfraith* foesawl.

2 Cofia am *Gyfiawnder* gofynawl.

3 Cofia am y *Gwaed* rhinweddawl sydd wedi anrhydeddu y *Gyfraith* foesawl, a boddloni *Cyfiawnder* gofynawl.

VIII. Pan byddot ti yn gweled y llythyren—H.

1 Cofia am *Haeddiant* pechadur, sef fflamiau.

2 Cofia fod ffordd i gael *Heddwch* â Duw er maint yw dy feiau.

3 Cofia mai *Hwyrfrydig* yw Duw a pharod i faddeu.

IX. Pan byddot ti yn gweled y llythyren—I.

1 Cofia am *Iesu* yn ei sefyllfa gyfryngawl.

2 Cofia am yr *Iachawdwriaeth* fawr rinweddawl.

3 Cofia am yr *Iawn* anfeidrawl a roddodd Iesu ar y groes.

X. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—L.
1 Cofia am *Lywodraeth* Duw fel brenin y breninoedd.
2 Cofia am *Lygredd* a wnaeth flinder i filoedd.
3 Cofia am *Lawenydd* tragywyddawl y nefoedd.

XI. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—M.
1 Cofia fyfyriaw am oriau *Marwolaeth.*
2 Cofia geisio *Maddeuant* trwy'r prynedigaeth.
3 Cofia mai trwy'r *Machnïydd* y mae cael buddygoliaeth.

XII. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—N.
1 Cofia am y *Newyddion* da fod Ceidwad wedi ei eni.
2 Cofia am y *Nefoedd* a'i dysclaer gwmpeini.
3 Cofia mai *'Nawr* yw yr amser i 'mofyn am dani.

XIII. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—O.
1 Cofia *Ofni* Duw mewn ysbryd mabaidd.
2 Cofia *Obeithiaw* yn ei drugaredd.
3 Cofia ei *Ogoneddu* ef oddiar egwyddor efengylaidd.

XIV. Pan fyddwn ni yn gweled y llythyren—P.
1 Cofiwn mai *Pridd* yw ein defnyddiau.
2 Cofiwn mai *Pechaduriaid* yw ein henwau.
3 Cofiwn mai *Perffeithrwydd* sydd arnom eisiau.

XV. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—R.
1 Cofia am *Ryfela* nes gorchfygu.
2 Cofia am *Râs* Duw i'th nerthu.
3 Cofia am *Ragluniaeth* i'th ddiogelu.

XVI. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—S.
1 Cofia ymofyn am *Sylfaen* ddigonawl.
2 Cofia am *Santeiddrwydd* gwirioneddawl.
3 Cofia hiraethu am y *Sabbath* tragywyddawl.

XVII. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—T.

1 Cofia am y *Truenus* gyflwr oeddit ti ynddo cyn credu mewn Ceidwad.

2 Cofia mai *Trugaredd* Duw yw na ddarfu am danat.

3 Cofia fod *Tragywyddoldeb* yn tynu nes nes yn wastad.

XVIII. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—U.

1 Cofia fod yn rhaid cael *Undeb* â Christ cyn bod yn ddedwydd.

2 Cofia fod yn rhaid rhoddi *Ufydd-dod* i gyfraith fel rheol santeiddrwydd.

3 Cofia beunydd, mai *Uffern* fydd llety a gwely'r anufydd.

XIX. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—W.

1 Cofia *Weddiaw* am faddeuant pechod.

2 Cofia *Wylaw* am dy bechod.

3 Cofia *Wylaw* yn erbyn pechod.

XX. Pan fyddot ti yn gweled y llythyren—Y.

1 Cofia barchu yr *Ysgrythyr* santaidd.

2 Cofia lefain am *Ysbryd* y gwirionedd.

3 Cofia yn wastad *Ystyried* dy ddiwedd.

1 Diolch Arglwydd, am lyth'renau,
Sydd yn gwneuthur y gair Maddeu,
Mi rof glod a diolch iti,
Am lyth'renau enw'r Iesu.

2 O diolch am lyth'renau hynod,
Sydd yn gwneud y gair Cyfamod,
Ac am ereill a 'sgrifenwyd,
Sydd yn gwneud y gair Gorphenwyd.

3 Ti gei dy ganmawl byth yn felus,
Am lyth'renau mor ddeallus,
Sydd yn gwneuthur Gwaed y cymod,
A maddeuant o bob pechod.

4 Mae genyf barch 'rwy'n dweud yn syml,
I holl lyth'renau pur y Bibl;
Er nad ynt ond inc a phap'rau,
Maent yn egluraw mawr drysorau.

5 Diolch am lyth'renau cywrain,
Sydd yn y fwyn efengyl lawen;
Ac am y rhai sy'n swniaw'n beraidd,
Yn yr hyfryd air Trugaredd.

6 Paid a 'ngadael i foddloni,
Ar wel'd llyth'renau enw'r Iesu;
Heb gael adnabod yn brofiadawl;
Fod genyf Grist mewn modd sylweddawl.

7 Mae llawer iawn yn byw'n ddisylwedd,
Ar lyth'renau'r gair Trugaredd;
Ac eto'n wastad yn ddifater,
Heb ystyried pur gyfiawnder.

---

## *Allwedd Myfyrdawd wrth glywed y Cloc yn taraw.*

PAN byddot ti, enaid, yn clywed y cloc yn taraw un o'r gloch, cofia gredu mai un Duw sydd i ti ei addoli; Clyw, Israel, yr Arglwydd dy Dduw sydd un Arglwydd, a'r Arglwydd dy Dduw a addoli, ac efe yn unig a wasanaethu.

2. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw dau o'r gloch, cofia barchu a chredu y ddau Destament, oblegyd yr holl ysgrythyr sydd wedi cael ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, canys nid trwy ddyn y daeth gynt brophwydoliaeth, ond dynion santaidd Duw a lefarodd fel y cynhyrfwyd hwynt gan yr Ysbryd Glân.

3. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw tri o'r gloch, cofia gredu yr Athrawiaeth bwysig, ardderchawg, a gogoneddus o Ddrindod o Bersonau, oblegyd y mae tri yn tystiolaethu yn y nef, y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glân, a'r tri hyn un ydynt.

4. Pan byddot ti yn clywed y Cloc yn taraw pedwar o'r gloch, cofia ddarllen a myfyriaw llawer [illegible] ysgrifeniadau y

pedwar Efengylwr, oblegyd y pethau hyn a ysgrifenwyd fel y credoch chwi mae'r Iesu yw'r Crist, a chan gredu y caffoch fywyd yn ei enw ef: dyma lle mai hanes neillduawl. 1. Am gnawdoliaeth Crist. 2. Am enedigaeth Crist. 3. Am dylodi Crist. 4. Am erledigaethau Crist. 5. Am demtasiynau Crist. 6. Am athrawiaeth Crist. 7. Am wyrthiau Crist. 8. Am fawrion ddyoddefiadau Crist yn ngardd Gethsemane, ac ar ben Calfaria yn hoeledig ar y groes. 9. Am gladdedigaeth Crist. 10. Am adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw ar y trydydd dydd yn ol yr ysgrythyrau.

5. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw pump o'r gloch, cofia am y pum Morwyn ffôl, pa rai a ddarfu gariaw lamp heb ddim olew, sef rhith o foesoldeb, heb ddim gwir grefydd a duwioldeb. O, cofia ymofyn am grefydd ag a dy wnelo yn barod i fyned i mewn gyda y Priod-fab i'r briodas, cyn caffo y drws ei gau. Fe gaiff tri drws eu cau, a hyny yn mhen ychydig bach o amser, ac ni chant hwy ddim eu hagor byth ond hyny. 1. Drws o bregethiad a gwahoddiad yr efengyl. 2. Drws trugaredd a gaiff ei gau dros byth, ac yna, ffarwel i bechadur i gael cynyg ar drugaredd i dragwyddoldeb mwy. 3. Drws gobaith a gaiff ei gau yn mhen gronyn; y mae gan y dyn mwyaf annuwiawl ryw fath o obaith yn bresenawl, ond yn ol myned trwy afon marwolaeth, ffarwel am obaith o un drugaredd byth mwy, oblegyd gobaith yr annuwiawl a dderfydd yn angeu.

6. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw chwech o'r gloch, cofia mai chwech diwrnod sydd i ti weithiaw a dylyn dy oruchwylion naturiawl a chyfreithlawn.

7. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw saith o'r gloch, cofia gadw yn santaidd y seithfed dydd, a'i dreuliaw ef i gyd yn ngwaith a gwasanaeth Duw mewn darllen, mewn gweddiaw, mewn cymunaw, a chanu a myfyriaw, ac ymddyddan, mewn modd syml am bethau crefyddawl.

8. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw wyth o'r gloch, cofia am yr wyth enaid a achubodd Duw yn dawel yn yr arch, pan oedd y diluw yn boddi yr holl annuwiolion; O, dere dithau i'r Arch ysbrydawl, sef Crist, cyn delo y diluw tanllyd ofnadwy, ar fyd o wawdwyr annuwiawl.

9. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw naw o'r gloch, cofia am y nawfed awr y dywedodd Iesu y gair hwnw, sef, Gorphenwyd, ar y groes; dyma air ac y cân telynau y nef am dano pan byddo cyfrif oriau wedi darfod.

10. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw deg o'r gloch, cofia am y deg gorchymyn pur, pa rai sydd wedi cael eu rhoi i fod yn rheol o santeiddrwydd bywyd i ti yma yn y byd presenawl, a chofia alaru am i ti erioed eu tori, a chofia ganmawl a derchafu Crist, am iddo ef er dy fwyn, eu cyflawni a'u hanrhydeddu, a chofia ditheu ymestyn yn fwy fwy yn y blaen at berffeithrwydd, hyd nes delot ti o'r diwedd yn hollawl ac yn berffaith gyd-ffurfiawl â'r gyfraith, gorff ac ysbryd, mewn meddwl, gair, a gweithred.

11. Pan byddot ti yn clywed y cloc yn taraw un ar ddeg o'r gloch, cofia hen bechadur segur, diog, annuwiol, i ddyfod i mewn, ac fel ar yr unfed awr ar ddeg i weithiaw un awr yn ngwinllan Iesu, cyn elo'r awr ddiweddaf o dy fywyd di heibiaw, a chofia gredu mai digon yw yr amser a aeth heibiaw, i dreuliaw yn ngwasanaeth diafol a phechod.

12. Pan byddot ti yn clywed y Cloc yn taraw deuddeg o'r gloch, cofia gredu athrawiaeth deuddeg apostol yr Oen. 1. Cofia gredu fod Duw. 2. I fod y Bibl yn wir air Duw. 3. Mai Ysbryd yw Duw. 4. Nad oes ond un gwir a bywiawl Dduw. 5. I fod y Duw yma yn dri pherson yn yr un hanfod, ac eto un Duw. 6. Cofia gredu mai y Duw yma yw Creawdwr yr holl greadigaeth weledig ac anweledig, a'i fod ef wedi creu y cyfan o ddiddim defnydd trwy air ei nerth, a'i fod ef wedi creu dyn ar ei lun ac ar ei ddelw ei hun, mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir santeiddrwydd; ac mewn cyflwr da a dedwydd, a chanddo ddigonolrwydd o allu i sefyll yn yr ystad hono, ond ei fod ef wedi cael ei adael i ryddid ei ewyllys ei hunan, pa un bynyg ai sefyll ai syrthio. 7. Cofia gredu fod Adda wedi tori gorchymyn Duw, a chwedi syrthiaw i gyflwr tra truenus, ac fel ag yr oedd Adda yn ben cynnrychiolwr i'w holl hâd naturiol, sef holl ddynolryw, fe syrthiodd pawb ynddo i gyflwr eithaf truenus, ac y mae pawb wrth natur yn bechaduriaid gwreiddiawl o'r groth, ac yn euog o dragywyddawl gosp. 8. Cofia gredu, fel ag yr wyt ti oll yn llygredig, fod yn aumhosibl i ti byth fyned i'r nefoedd trwy

dy weithredoedd dy hunan. 9. Cofia gredu fod Duw, oddi ar ei ben-arglwyddiaeth, ac yn gyson â'i gyfiawnder, wedi ethol rhyw rifedi o hil syrthiedig Adda er tragywyddoldeb, i'w dwyn i ystad o iachawdwriaeth, trwy Gyfryngwr. 10. Cofia gredu fod Iesu Grist, yr ail berson yn y Duwdod, yn nghyflawnder yr amser, wedi cymeryd y natur ddynawl i undeb â'i berson dwyfawl, a'i fod ef yn bresenawl yn berffaith Dduw ac yn berffaith ddyn, yn yr un person. 11. Cofia gredu fod Iesu Grist yn y natur hono, wedi byw i fynu yn berffaith i holl ofyniadau y ddeddf, ac wedi marw ar ben Calfaria, yn unig dros ei bobl, ac wedi boddloni cyfiawnder ar eu rhan, ac wedi talu dyled ei eglwys yn llwyr. 12. Cofia gredu ei fod wedi cael ei gladdu yn y bedd. 13. Cofia ei fod wedi adgyfodi oddiwrth y meirw. 14. Ei fod wedi esgyn yn y natur ddynawl i'r nefoedd. 15. Ei fod yn eistedd ar ddëaulaw Duw, ac yn eiriawl dros ei eglwys. 16. Cofia gredu, y bydd iddo ymddangaws yr ail waith, i farnu y byw a'r meirw. 17. Cofia gredu fod gan Grist, eglwys yma yn y byd; ac mai nid pridd a cherig yw eglwys Crist, ond cynulleidfa o bobl wedi ymgyfammodi â Duw ac â'u gilydd, yn y byd yma, i gynnal gogoniant mynegawl Duw i fynu yn y byd a'r bywyd hwn. 18. Cofia gredu nad oes ond un wir eglwys. 19. Mai Crist yw pen yr eglwys, ac nad oes gan y Pab na neb o ymerawdwyr daear, un sylfaen i honi hawl i fod yn ben ar eglwys Crist. 20. Cofia gredu fod Crist fel Pen a Brenin yr eglwys, wedi ordeiniaw a sefydlu dwy ordinâd neillduawl yn ei eglwys, i barâu hyd ddiwedd y byd, sef, bedydd a swper yr Arglwydd; ac fod arnat tithau rwymau i fod yn un o ddeiliaid yr ordinâd hon. 21. Cofia gredu, mewn trefn i fod yn gadwedig, fod yn rhaid i'r Ysbryd Glân wneuthur cymhwysiad o'r iachawdwriaeth drwodd at dy gyflwr di, a hyny mewn modd neillduawl. 22. Cofia gredu fod yn rhaid i ti gael dy alw â galwedigaeth effeithiawl. 23. Cofia gredu fod yn rhaid i ti gael dy aileni. 24. Cofia gredu fod yn rhaid i ti gael undeb â Christ, mewn trefn i gael hawl o'r bendithion a bwrcasodd efe. 25. Cofia gredu fod yn rhaid i ti gael dy gyfiawnâu trwy ffydd, heb ddim o dy weithredoedd dy hunan. 26. Cofia gredu mai bywyd a marwolaeth Crist, neu ufydd-dod moesol a dyoddefol Crist, yw sylfaen a defnydd cyfiawnâd pechadur ger bron Duw. 27. Cofia gredu fod yn rhaid i ti gael

dy santeiddiaw, cyn y byddoi ti yn gymhwys i fyned i'r nefoedd. 28. Cofia fod yn rhaid i ti gael ffydd o roddiad Duw i gredu yn Nghrist. 29. Cofia gredu fod yn rhaid i ti gael edifeirwch i fywyd. 30. Cofia gredu fod gras, o ran ei natur, i gynnyddu. 31. Cofia gredu fod yn annhosibl i golli yr hedyn, neu yr egwyddor o ras, yn ol ei gael ef unwaith. 32. Cofia gredu anfarwoldeb yr enaid. 33. Cofia gredu yr athrawiaeth o adgyfodiad y meirw yn y dydd olaf. 34. Cofia gredu fod uffern i gospi yr holl annuwiolion dros byth. 35. Cofia gredu fod nefoedd i wobrwyaw a gogoneddu y saint dros byth. 36. Cofia gredu, fel un sydd yn chwennych myned i'r nefoedd, i ymddidoli oddiwrth y byd annuwiawl, ac i gymeryd pobl Dduw yn bobl i ti. 37. Fel un ag sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia wneuthur cydwybod o weddio Duw yn y dirgel ac yn gyhoeddus, yn neillduol yn dy deulu. 38. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia beidio cario cyfrinach neillduol eglwys Dduw allan i'r byd, a chofia hefyd, beidio cyhoeddi gwendidau y saint yn Gath, nac yn heolydd Ascelon, rhag i ferched y Philistiaid gablu. 39. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia beidio esgeuluso dy gyd-gynnulliad ar y Sabbath, nac yn yr wythnos, mor belled ag y byddo rhagluniaeth Duw yn caniatâu. 40. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia dderbyn cyngor yn garedig, a rhoi cyngor yn garedig; a derbyn cerydd yn garedig, os bydd rhyw beth ynot ti, yn gofyn cerydd, a rhoddi cerydd yn garedig, lle byddo cerydd yn ofynol. 41. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia fod arnat rwymau i gyfranu o dy drugareddau naturiawl yn ol dy allu, at achos Duw, os bydd Duw yn gofyn am danynt. 42. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia beidio tramgwyddo wrth eglwys Dduw fel corff, o achos dau neu dri o bersonau. 43. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia beidio arferyd un moddion a fyddai yn debyg i derfysgu na rhwygo eglwys Crist. 44. Fel un sydd wedi cael lle yn eglwys Dduw, cofia beidio tòri dy gyfammod eglwysig, ac i ymadael a'th gyfeillion crefyddawl, oddieithr dy fod ti wedi cyfnewid yn hollol yn dy farn, o'r hyn oeddit ti o'r blaen, neu ynte fod yr holl gorff wedi myned yn gyfeiliornus yn eu barn, neu ynte, wedi myned yn llygredig i gyd o ran eu bywyd. 45. Am ben hyn oll, gwisgwch gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd.

RHAI

# GEIRIAU CALEDION O'R BIBL

YN CAEL EU HEGLURAW

## YN OL EU HARWYDDOCAD PRIODAWL

YN YR

IAITH WREIDDIAWL,

*A hyny mewn ffordd o Holiadau ac Atebion.*

---

HOLIAD. BETH yw ystyr y gair Adda?

ATEB. Priddlyd, daearawl, neu ddaear gôch.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Abel?

A. Tarth, neu wagedd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Abraham?

A. Tad y dyrchafedig, neu Dad lliaws mawr.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Ahitophel?

A. Brawd y dinystr.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Aipht?

A. Trallod a gorthrymder.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Abednego?

A. Gwas y goleuni.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Amos?

A. Llwythog, pwysig.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Apolion?

A. Dinystrydd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Bethania?

A. Tŷ gorthrymder.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Bethafen?

A. Tŷ y gwagedd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Bethel?

A. Tŷ Dduw.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Bether?
A. Tŷ y dosbarthiad.

G. Beth yw arwydddocâd y gair Bethesda?
A. Tŷ y tywalltiad.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Bethlehem?
A. Tŷ y barn, neu ryfel.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Bethpeor?
A. Tŷ yr agoriad.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Bethsaida?
A. Tŷ y ffrwythau.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Bethsemes?
A. Tŷ y caethiwed.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Beelsebub?
A. Eilun y cylion.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Babel?
A. Cymysg.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Carmel?
A. Gwinllan Duw.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Dafydd?
A. Anwyl, caredig.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Daniel?
A. Duw yw fy marnwr.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Eden?
A. Hyfrydwch.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Efa?
A. Un fo yn rhoi bywyd.

G. Beth yw arwyddocâd y gair Enos?
A. Dyn syrthiedig.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Esaia?
A. Iachawdwriaeth yr Arglwydd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Habacuc?
A. Ymdrechwr.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Haleluia?
A. Molwch yr Arglwydd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Hosanna?
A. Achub, atolwg.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Iacob?
A. Disodlwr.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Iah?
A. Tragywyddawl.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Ieremia?
A. Ardderchawgrwydd yr Arglwydd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Ierusalem?
A. Ceir gweled tangnefedd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Iesu?
A. Gwaredwr.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Iob?
A. Goddef gelyniaeth.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Israel?
A. Gorchfygu gyda Duw.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Mahershalalasbas?
A. Brysia i'r ysbail, prysura i'r anrhaith.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Mair?
A. Yr hon a ddyrchafwyd.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Moses?
A. Un a dynwyd allan.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Noa?
A. Cysur.

H. Beth yw arwyddocâd y gair Saphnathpaanea?
A. Iachawdwr y byd.

1 Ffarwelwch fy nhydfilwyr, fy mrodyr a phob rhai,
Mae'n bryd i mi ddybenu trwy ganu gair neu ddau:
Gan waeddi, Arglwydd, maddeu, fy nghamsyniadau 'gyd,
Yn hyn o fyfyrdodau, sy'n myn'd ar led y byd.

2 Wel, bellach wrth ymadael, ni ganwn air o hymn,
Ffarwel i ganu ffarwel, 'nol myn'd i Sïon fryn;
O deuwch 'nawr yn lluoedd, yn mlaen tua'r nefoedd wen,
Cawn yno felus ganu, heb dewi byth, Amen.

DIWEDD.

*Caerfyrddin: Argraffwyd gan M. Jones.*

# TRAETHAWD

AR

# HAWL, CYMMWYSDER, A DYLEDSWYDD

# POB DYN

I

# FARNU DROSTO EI HUN.

**Gan y Parch. HUGH PUGH.**

**Wyddgrug:**

ARGRAFFWD GAN HUGH AC OWEN JONES,

DROS W. ROBERTS, Y CYHOEDDWR.

1839.

*Pris 6c.*

## AT Y DARLLENYDD.

---

Ymddangosodd y Traethawd ar Hawl, Cymmwysder, a Dyledswydd pob dyn i farnu drosto ei hun, mewn amryw rifynau dilynol o'r DYSGEDYDD, am y flwyddyn 1835. O'r pryd hwnw hyd y pryd hwn cefais fy nghymmell yn y modd taeraf gan nifer luosog o gyfeillion, trigiannol mewn gwahanol barthau o'r Dywysogaeth, i'w argraffu yn llyfryn cryno: ac wele yn bresennol eu cais wedi ei chyflawni. Y Ddarlith ar Draddodiadau, sydd grynodeb o'r hyn a draethwyd gennyf rai blynyddau yn ol i'r bobl oeddynt y pryd hwnw dan fy nghofal gweinidogaethol, mewn cyfarfod Cymdeithas er Taenu Gwybodaeth Eglwysig a gynnaliwyd yn Llandderfel. Ar ddymuniad amryw cefais y fraint o'i thraethu hefyd yn Llanrhaidr y Mochnant a Dinas Mawddwy. Meddyliais lawer gwaith chwanegu ati, a chymmeryd cryn drafferth i'w pharottoi i'r Wasg; ond o herwydd llawnder gorchwylion ereill, ydwyf o dan yr angenrheidrwydd o'i gollwng o'm dwylo fel yr ymddengys. Llawen fyddai gennyf gael sail i gredu fod y sylwadau a gynnwysa y llyfryn hwn yn llwyddo fel moddion i chwanegu parch fy nghydgenedl at air Duw, i'w tueddu i benderfynu chwilio a barnu drostynt eu hunain, ac i daflu oddiwrthynt bob iau caethiwus ar eu meddwl.

*Mostyn.* HUGH PUGH.

# TRAETHAWD, &c.

## RHAN I.

*Yr Ysgrythyr Lân yn unig Reol Ffydd ac Ymarweddiad.*

TUEDD mawr sydd mewn dyn i groesi holl Drefn Duw. Y mae am fod yn dduwiol cyn myned at Grist, a threfn Duw yn gofyn iddo fyned at Grist fel pechadur. Y mae am gael gwybod a wna efe barâu hyd y diwedd cyn dechreu byw yn grefyddol, a threfn Duw yn gofyn iddo ddechreu byw yn grefyddol yn ddioed, ac ymddiried yn ngras Crist i barâu. Yr un modd y mae am wneuthur ei gredo yn gyntaf, a chwilio y y Bibl wedi'n, a threfn Duw yn gofyn iddo chwilio y Bibl yn gyntaf a thynu ei gredo oddiyno.

Dymunir ar y darllenydd i ystyried y ddau beth canlynol:

*Yn gyntaf,* Mai un peth ydyw gwneuthur *amlygiad* o grêd, a peth arall tra gwahanol ydyw gwneuthur *gosodiad* o hono fel *deddf.* Digon goddefol ydyw i un person neu nifer o bersonau wneuthur *amlygiad* i'r byd pa beth y mae efe neu y maent hwy yn ei gredu; ond hollol anghyfreithlawn fyddai iddo neu iddynt *osod* yr amlygiad hwnw yn *rheol* i ereill pa beth a *ddylid* ei gredu.

*Yn ail,* Mai un peth ydyw defnyddio cyfansoddiadau o waith dynion fel *cynnorthwy,* a pheth arall tra gwahanol ydyw eu parchu, a chyfeirio atynt, a gwneuthur defnydd o honynt fel *Rheol.* Dylem ddefnyddio pob moddion gwybodaeth y sydd genym fel cynnorthwyon i ddeall y Bibl, a bod

yn ddiolchgar i Dduw am danynt; ond ni ddylid derbyn ysgrifau y dyn goreuaf ac enwocaf a fu erioed yn y byd heb eu profi yn wyneb Gair Duw, nac ystyried dim o honynt yn amgen na gwaith dynion ffaeledig ac agored fel ninau i gamsyniadau.

Yn y rhan bresennol o'r Traethawd hwn amcenir profi, ***Mai yr Ysgrythyr Lân ydyw unig Reol Ffydd ac Ymarweddiad.***

I. Yr Ysgrythyr Lan yn unig sydd gwedi cael ei gosod gan Dduw i fod yn Rheol.

Y mae gan Dduw hawl arnom, ac yr ydym bawb o dan rwymau i dderbyn pob peth a gynnwysa ei Air fel gwirionedd pur a chywir, a hyny oblegid Geirwiredd, Gwybodaeth, Doethineb a Daioni yr Awdwr, y rhai a achosant fod yn annichonadwy iddo dwyllo ei greaduriaid, na chamsynied mewn dim a ddyweda. Er fod genym ryddid i chwilio a barnu drosom ein hunain pa beth yw ystyr y Rheol, eto ni adawwyd neb o honom at ein dewisiad pa un a dderbyniwn yr Ysgrythyr fel Rheol ai peidio; oblegid y mae Duw ei hun fel Brenin gwedi penderfynu bod yn rhaid i bawb a'i caffo ei derbyn fel y cyfryw, neu fod yn euog o wrthryfel yn ei erbyn fel Llywydd cyfiawn.

II. Yr Ysgrythyr lan yn unig sydd yn meddu ar addasrwydd perffaith i fod yn Rheol.

Anffaeledigrwydd. Y mae gwedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, a gallwn anturio bywyd ein heneidiau ar gadernid a chywirdeb ei thystiolaeth. Gallwn ymollwng i nofio gyda'i ffrwd heb ofni y dygir ni i unrhyw le niweidiol. Yn mha le y mae y cyfansoddiad o eiddo dyn a all hóni hawl i'r unrhyw briodedd?

Eglurdeb. Ni's gall dim fod yn Rheol i ni ond yn unig can belled ag y gallwn ei ddeall, oblegid nas gallwn ei ddef-

nyddio yn mhellach na hyny. Os oes rhyw ranau o'r Gair uwchlaw ein galluoedd ni i'w hamgyffred, er defnyddio pob moddion a allem, a chwilio yn y modd manylaf, gallwn ddywedyd nad ydyw y cyfryw ranau yn rheol i ni mwy nag ydynt i ddyn dall neu fyddar.

Wrth ddywedyd fod y Gair fel Rheol yn Eglur, nid ydys yn meddwl haeru fod yr oll o hono felly i bawb, ond yn unig fod *pob peth angenrheidiol er cadwedigaeth enaid i fywyd tragywyddol gwedi eu datguddio ynddo mewn modd amlwg ac amgyffredadwy.* Cynnwysa haeriad i'r gwrthwyneb dair o enllibiau:

*Yn gyntaf,* Cynnwysa *Enllib ar Ddaioni Duw.* Addefir gan bawb fod rhyw wirioneddau ag y mae yn rhaid i bob dyn eu credu o dan berygl trueni tragywyddol, ac os na ddatguddiwyd y gwirioneddau hyn yn eglur, onid Enllib ar Ddaioni Duw ydyw haeru y cosba efe neb am beidio eu credu?

*Yn ail,* Cynnwysa *Enllib ar yr Ysbryd Glan fel Awdwr y Rheol.* Os nad yw yr Ysgrythyr lân yn ddigon eglur yn mhob peth hanfodol er cadwedigaeth enaid, rhaid mai yr achos yw un o ddau beth; naill ai am *nad allai,* neu am *na fynai* yr Ysbryd ysgrifenu yn eglur. Os haerwn *nad allai,* byddwn yn euog o gabledd; ac os dywedwn *na fynai,* onid Enllib ar Ysbryd y gras yw dywedyd *na fynai* ysgrifenu yn Eglur y pethau hyny ag y mae bywyd pechadur yn gyssylltiedig â'u credu?

*Yn drydydd,* Cynnwysa *Enllib ar gywirdeb tystiolaeth yr Ysgrythyr am dani ei hun.* Tystia yr Ysgrythyr am dani ei hun, "nad yw y gorchymyn yn guddiedig, ac nad yw bell." "Gorchymyn yr Arglwydd sydd bur, yn goleuo y llygaid." Y mae yn "llusern i'r traed ac yn llewyrch i'r llwybr." "Canwyll yw y gorchymyn; a goleuni yw y gyfraith." Deut. 30. 11. Sal. 19. 8. a 119. 105. Trwy wadu

Eglurdeb yr Ysgrythyr yr ydys yn Enllibio cywirdeb ei thystiolaeth am dani ei hun.

Ailddywedaf, *Fod y pethau ag ydynt hanfodol er cadwedigaeth enaid gwedi cael eu dadguddio yn ddigon eglur yn Ngair Duw, fel y mae yn hawdd i bob dyn eu deall.* Nid oes rhwymau ar neb i ffurfio unrhyw farn am bethau sydd uwchlaw ei amgyffrediad mwy nag am bethau na's dadguddiwyd. Os dywedir, "Y dylai y dyn, nad oes ganddo edyn o'i eiddo ei hun, ehedeg ar edyn rhai ereill," gellir ateb, "Y dyn nad oes ganddo edyn o'i eiddo ei hun, nid oes rhwymau arno, ac ni ofynir iddo, i ehedeg mewn un modd yn y byd." Nid yw Duw yn gofyn fod gan neb farn bersonol ond yn ol ei gymhwysder personol, ac nis gall dyn ofyn mwy na hyn heb syrthio o dan y nodweddiad ffiaidd o fod yn ormeswr ar etifeddiaeth Crist.

Pa beth gan hyny sydd a wnelom ni â chyfansoddiadau dynol fel Rheolau, tra y mae Gair Duw ei hun yn ddigon Eglur? A all dynion lefaru yn well neu yn eglurach na Duw? Dynion a gyhoeddant Erthyclau, Cyffesion, a Chredöau, a dysgwylir i ereill eu credu heb esboniad, ac onid yw Gair Duw yn mhob peth angenrheidiol mor hawdd i'w ddeall ag ydyw gair dynion? Ydyw, yn ddiammheuol.

Cyflawndeb. Cynnwysa bob Hanes, Athrawiaeth, Addysg, Cymhelliad, Addewid a Bygythiad sydd yn angenrheidiol er effeithio arnom. Nid oes dim gwedi ei adael o hono ag sydd yn angenrheidiol i ni ei wybod, ei gredu, na'i ddefnyddio er cael meddiant o fywyd tragywyddol. Pob dyledswydd sydd raid i ni ei chyflawni, pob gwirionedd sydd raid i ni ei gredu, pob amgylchiad sydd raid i ni fyned trwyddo, pob bendith sydd raid i ni ei cheisio, pob cyfaill sydd raid i ni ei garu, a phob gelyn sydd raid i ni ei ochelyd, a osodir ar lawr ger ein bronau gyda'r manylrwydd cyflawnaf.

Digonoldeb. Digonol i reoli ein ffydd; i ddangos gwrthddrych, dyben, defnydd, dull ac agwedd addoliad; ac i drefnu ein holl ymddygiadau yn briodol tuag at Dduw, tuag atom ein hunain, a thuag at bawb a phob peth arall.

Os haerir fod angenrheidrwydd am Erthyclau a Chyffesion o ddynol osodiad, rhaid mai o herwydd un o ddau beth, naill ai *aneglurdeb* neu *annigonoldeb* yr Ysgrythyrau. Os dywedir mai o herwydd *aneglurdeb*, rhaid dywedyd fod Duw wedi cyhoeddi Rheol anghyfaddas i ateb dybenion ei chyhoeddiad, a bod yn rhaid cael gwaith dynion i'r dyben o'i chyfaddasu. Os dywedir mai o herwydd *annigonoldeb*, rhaid dywedyd fod Duw gwedi cyhoeddi amlygiad hannerog o'i ewyllys, ac wedi gadael rhyddid i ddyn ychwanegu ato i'w wneuthur yn ddigonol, er iddo ddywedyd ynddo mai "melldigedig fyddai pob un a roddai ddim at eiriau y brophwydoliaeth hon."

Ond Duw a dystia yn ddigon grymus o blaid Digonoldeb ei Air. "Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith." "Y pethau hyn a ysgrifenwyd fel y credoch chwi mai yr Iesu yw y Crist, Mab Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef." "Yr Ysgrythyr lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iachawdwriaeth." Salm 19. 7. Ioan 20. 31. 2 Tim. 3. 15.

Cyffredinrwydd. Rhoddwyd y Gair i ddysgu *pob dyn* yn y pethau sydd o'r canlyniadau mwyaf iddo, ac i ei gynnysgaeddu â'r deddfau goreu er ei dywys i ymarweddu yn iawn yn y fuchedd hon, fel yr arweinier ef i etifeddu buchedd well. Nid i ryw ddosbarth o'r hil ddynol y'i rhoddwyd, ond i *bob un* o honynt. Pob gradd, oedran, sefyllfa ac agwedd. Gan fod Rheol wedi ei rhoddi i bawb, ac yn dal perthynas â phawb, y mae pawb o dan rwymau cyfartal i wneuthur defnydd priodol o honi.

Nid oes ond yr Ysgrythyr lân yn unig yn meddu ar y rhagoriaethau a nodwyd ; gan hyny nid oes ond yr Ysgrythyr lân yn unig yn meddu ar addasrwydd perffaith i fod yn Rheol.

III. YR YSGRYTHYR LAN YN UNIG FEL RHEOL SYDD GYSSON A SEFYDLOG.

Os ymfoddlonwn ar ymchwil ereill, ac ymostwng yn oddefol i drefniadau rhyw rai o'n cyd-ddynion, yna ni a wadwn yr Ysgrythyr fel Rheol, a ymwrthodwn â'r hyn sydd sicr a sefydlog, ac a gofleidiwn yr hyn sydd ansicr ac ansefydlog.

Rheolau dynol ydynt anghysson ac ansefydlog. Y maent mor anghysson nes iddynt fod yn hollol wrthwynebol i eu gilydd, ac mor ansefydlog fel nas gwyddys dros ba ysbaid amser y parânt. Os troaf y Bibl o'r neilldu, ac ymwadu â'm hawl i ei chwilio a barnu drosof fy hun, i ba le yr âf i ymofyn am gredo ? Os gofynaf i Babydd am hanes Credo go dda, fe'm denfyn at benderfyniadau cynghorfa Trent. Os gofynaf yr un peth i Lutheriad, fe'm denfyn at gyffes Augsburg. Os gofynaf yr un peth i un o Henaduriaid yr Alban, fe'm denfyn at egwyddorion John Knox a phenderfyniadau y *Synodau* a'r *General Assemblies.* Os gofynaf yr unrhyw i un o ganlynwyr Crefydd Wladol Lloegr, fe'm denfyn at y deugain Erthygl namyn un : mewn gair, un blaid a rydd i mi un darluniad o Gristiaeth, plaid arall a rydd i mi ddarluniad arall o honi, a phlaid arall a rydd i mi ddarluniad gwrthwynebol i'r ddau flaenorol. Os bwriaf y Bibl heibio a phenderfynu dilyn rhyw gredo dynol, i ba le yr âf ? Pwy sydd i benderfynu yn mha le y caf y credo goreu ? Os penderfynaf gymmeradwyo y *deugain* erthygl namyn un, pa beth a wn na bydd yr un awdurdod ag a'u gosododd ar y cyntaf, cyn pen blwyddyn yn tynu oddiwrthynt *ugain* o honynt, ac yn fy ngadael i, druan, i fyw ar hanner fy ngredo

cyntaf? Neu pa beth a wn i na byddys cyn pen blwyddyn yn *ychwanegu deugain atynt,* ac yn gwthio y cyfryw i lawr fy ngwddf cyn i'm cylla gael digon o amser i dreulio y lleill? Yr un awdurdod ag sydd yn rhoddi credo i mi o ddeugain erthygl namyn un, a all roi i mi gredo o ddeucant o erthyglau namyn un, os dewisa. Pa beth a wnaf? Nis gallaf ddilyn credöau dynol oll, oblegid eu bod mor anghyson a gwrthwynebol y naill i'r llall. Yr wyf yn ymddrysu yn eu canol. Os dywedir wrthyf "bod yn rhaid i mi farnu trosof fy hun pa un o honynt sydd gywir"—atebaf inau, fod yn fwy dewisol genyf, ac yn llai o drafferth i mi, i ffurfio credo i mi fy hun o'r Bibl, nag ydyw chwilio a barnu credöau y byd. Yr un cymhwysder ag sydd genyf i farnu credöau ffurfiedig dynion, a wna'r tro i mi chwilio yr Ysgrythyrau a barnu drosof fy hun. Yr un cymhwysder ag sydd genyf i rodio yn ngoleu canwyllau, a wna'r tro i mi rodio yn ngoleu yr haul. Yr un cymhwysder ag sydd genyf i yfed o'r ffrydiau, a wna'r tro i mi yfed o'r ffynnon: a ph'am yr ymfoddlonaf i yfed o'r ffrydiau anmhur a chymmysglyd, a chenyf gennad Duw i yfed o'r ffynnon loyw iach can gystal a'r Pab, yr Archesgob, a'r cynnadleddau penaf a fuont yn y byd erioed?

IV. Yr Ysgrythyr lan yn unig fydd Rheol y Farn. Hon yw y gyfraith yn wyneb ein hagwedd tuag at ba un y penderfynir ein cyflwr tragwyddol. Pwy gan hyny a all ymesgusodi rhag y drafferth a'r llafur o chwilio iddi a mynu gweled â'i lygaid ei hun, pa beth y mae Duw yn ei ofyn ganddo, ac yn ei orchymyn a'i addaw iddo?

Nid barnu dynion a wna Duw yn ol y rheolau a ddewiswyd ganddynt hwy. O nage! Nid dywedyd a wna wrth y Pabydd, "Cei di dy farnu yn ol rheolau cynghorfa Trent." Nid dywedyd a wna wrth y Lutheriad, "Cei di dy farnu yn ol rheolau cyffes Augsburg." Nid dywedyd a wna wrth yr Eglwys-

wr, "Cei di dy farnu yn ol y deugain erthygl namyn un." Nid dywedyd a wna wrth y Trefnydd, "Cei di dy farnu yn ol cyffes a rheolau dy enwad."—Nage. Un Reol fydd yn y farn, ac yn wyneb hóno, a hóno yn unig, y saif neu y syrth pawb o wlad y breintiau. Gan mai yn wyneb yr Ysgrythyr y'n bernir bawb oll, dylem ei hystyried fel unig Reol ein Ffydd a'n Hymarweddïad.

Tybir fod y sylwadau blaenorol yn ddigonol i brofi Unig-rwydd a Digonolrwydd yr Ysgrythyr lân fel Rheol.

---

## RHAN II.

*Cymhwysder pob dyn i farnu drosto ei hun.*

---

Yn y rhan gyntaf o'r Traethawd hwn amcanwyd dangos mai "yr Ysgrythyr lân ydyw unig Reol Ffydd ac Ymarweddiad." Ymdrechwyd profi hyn drwy sylwi, Mai yr Ysgrythyr lân yn unig sydd gwedi cael ei gosod gan Dduw i fod felly—mai yr Ysgrythyr lân yn unig sydd yn meddu ar addasrwydd perffaith i fod yn Rheol—mai yr Ysgrythyr lân yn unig fel Rheol sydd gysson a sefydlog—ac mai yr Ysgrythyr lân yn unig fydd Rheol y Farn. Yn y rhan bresennol amcenir profi, "Bod gan bob dyn fel creadur Rhesymol a Chyfrifol, hawl a chymhwysder personol i farnu drosto ei hun pa beth sydd wirionedd, a pha beth sydd gyfeiliornad."

Peth rhyfedd os ydyw dyn i fod yn rhydd i farnu drosto ei hun yn mhob peth ond yn mater ei enaid. Ni feiddia neb osod deddf o unffurfdeb i amaethwyr ei dilyn wrth drin eu tiroedd. Ni feiddia neb osod deddf o unffurfdeb i farsiandwyr ei dilyn wrth fasnachu. Nid yw Duw gwedi gosod Rheolau gyda'r pethau hyn, ac yn ganlynol nid yw o werth gan ddyn i osod rhai. Ond gan fod Duw gwedi gosod rheolau Crefydd,

beiddia dyn osod rhai hefyd. Teimla gymmaint awydd arno i drawsfeddiannu awdurdod Duw, fel y coda wrthwynebiad iddo yn nghosodiad rheolau. Pe buasai yr Anfeidrol yn cyhoeddi Rheolau marsiandïaeth ac amaethyddiaeth, digon tebyg y buasai dyn yn ei ysfa gnawdol i ddynwared awdurdod y Goruchaf yn cyhoeddi rheolau ychwanegol atynt, gan haeru fod y Rheolau dwyfol yn aneglur neu yn annigonol.

Fod gan bob dyn hawl a chymhwysder personol i farnu drosto ei hun, a brofir wrth ystyried y pethau canlynol:

I. NID OES GAN NEB HAWL NA CHYMHWYSDER I FARNU DROS ARALL.

Os oes gan rywun neu rywrai Hawl i farnu dros ereill, yna rhaid fod undeb cymdeithas efengylaidd yn cael ei ffurfio ar ammodau anghyfartal. Os oes gan rai dynion hawl i dynu Erthyclau ffydd a Rheolau cymdeithas heblaw y rhai orchymynodd Crist yn ei Air, a'u gosod fel deddfau o awdurdod gerbron ereill, yna y ffurfir cymdeithas grefyddol ar ammodau anghyfartal—rhai ag *awdurdod* ganddynt i ffurfio a gosod rheolau, ac ereill o dan *rwymau i ymostwng* i eu derbyn. Ond y dybiaeth hon sydd groes i ysbryd y Gair, oblegyd y mae hwn yn uno pawb ar dir cyfartal heb uwchafiaeth nac isafiaeth, ac yn ffurfio cymdeithas ar un egwyddor fawr, sef, ufudd-dod i reolau Arglwydd cyffredin pawb oll.

Y mae y gosodiad yn cynnwys dau beth, sef, nad oes gan neb HAWL, ac nad oes gan neb GYMHWYSDER i farnu dros arall.

Nid oes gan neb HAWL i farnu dros arall. Ni dderbyniodd neb dyn na neb dynion yr Hawl yma oddiwrth eu cyd-ddynion; ac ni dderbyniodd neb dyn na neb dynion yr Hawl yma oddiwrth Dduw.

*Ni dderbyniodd neb dyn na neb dynion yr hawl yma oddiwrth eu cyd-ddynion.* Profir hyn oddiwrth ddau beth:

nis *gall,* a phe *gallai* ni *ddylai* neb drosglwyddo yr hawl hon i arall.

Nis *gall* neb roddi yr hawl hon i arall neu ereill. Nid yw yn ngallu dyn i gredu yr oll a ddewisai ei hun gredu, a llawer llai yn ei allu i gredu yr oll a ddewisai ereill iddo gredu. Nid yw crêd dyn yn ymddibynu ar ei ewyllys. Nid peth o ddewisiad ydyw barn dyn. Y peth a ymddengys i feddwl dyn yn gelwydd, rhaid iddo ei anghredu—nis gall ei gredu pe dewisai. Y peth a ymddengys i feddwl dyn yn wirioneddol, rhaid iddo ei gredu—ni's gall ei anghredu pe dewisai. Nid oes a wnelo ei ewyllys â'r naill neu'r llall. Y mae crêd dyn yn ymddibynu ar y lliw yr ymddengys pethau i'w feddwl, a hyny hefyd yn ymddibynu ar *agwedd ei galon* yn ymwneud â'r dystiolaeth a osodir ger ei fron. Yn ol *agwedd ei galon* yn ymarfer â'r moddion gwybodaeth y sydd ganddo y'i bernir yn y diwedd. Gan nas gall gredu yr hyn a ddewisai ei hun, nis gall drosglwyddo hawl i ereill ffurfio rheolau iddo, ac ymrwymo i gredu yr hyn a ddewisont hwy iddo gredu.

Ni *ddylai* neb drosglwyddo yr hawl hon i arall neu ereill pe gallai. Pe byddai crêd dyn yn ffrwyth dewisiad, ac yn ei allu i gredu yr hyn a fynai, (yr hyn nid yw, fel y sylwwyd) eto ni byddai gyfreithlawn iddo wneuthur felly. Nid oes gan ddyn awdurdod i gredu yr hyn a fynai, pe gallai; nac ychwaith i gredu, pe gallai, yr hyn a fynai ereill iddo gredu. Dyled benaf pob dyn yw credu yr hyn a *fyn Duw* iddo gredu, a'r hyn y mae ei gydwybod yn ddarbwylledig yw ewyllys Duw. Pe byddai ei grêd o dan lywodraeth ei ewyllys fel y *gallai* gredu yr hyn a ddewisai, eto ni *ddylai* ymrwymo i gredu dynion gan fod uwch-rhwymau arno i gredu Duw. Nid oes gan neb awdurdod i drosglwyddo yr hawl hon i ereill, mwy nag sydd gan ereill awdurdod i'w chymmeryd.

*Ni dderbyniodd neb dyn na neb dynion yr hawl yma oddiwrth Dduw.* Haeriad i'r gwrthwyneb a wna Dduw yn awdwr anghysondeb mewn dau beth. Pe buasai Duw wedi rhoddi hawl i rai dynion i farnu dros ereill.

1. Buasai ar un llaw gwedi rhoddi hawl i rai arfer awdurdod tuag at ennill crediniaeth ereill o'u rheolau, ac ar y llaw arall gwedi cyfansoddi dyn y fath greadur fel nas gall yr un awdurdod byth dreisio ei grêd. Pa orchestion bynag a all dynion eu gwneuthur, nid dichonadwy i'r brenin galluocaf yn y byd draws-lusgo crêd yr un o'i gyd-ddynion. Nis gall gweinidogaeth yr holl greaduriaid nac unrhyw drais allanol, fyth *orfodi* dyn i gredu unrhyw beth yn groes i argyhoeddiad ei feddwl. Cyn gwneuthur hyn rhaid newid yn hollol ei gyfansoddiad fel creadur, a llwyr-ddinystro seiliau ei gyfrifoldeb. Y mae dyn wedi cael ei greu o'r fath fel nad oes yr un awdurdod yn y nef, a than y nef, uwch y ddaear, ar y ddaear, na than y ddaear, a'i dwg ef i gredu unrhyw egwyddor, heblaw trwy argyhoeddi ei feddwl yn wyneb grym ac awdurdod tystiolaeth. Creadur moesol ydyw dyn, a chyfundraeth foesol yw'r efengyl, cwbl seiliedig ar bwys a chadernid ei thystiolaeth, ac yn gwynebu ar ddyn yn ol ei gyfansoddiad trwy rym rhesymau a chymhelliadau.

2. Buasai ar un llaw gwedi rhoddi hawl i rai gyfansoddi Credöau i eraill, ac ar y llaw arall gwedi gosod ereill o dan dan rwymau i beidio ymostwng i gredöau o ddynol osodiad. Buasai yn dywedyd wrth un, "Yr wyf fi yn rhoi hawl i ti i'r teitl o *Dad*," ac wrth arall, "Na elwch neb yn Dad i chwi ar y ddaear." Buasai yn dywedyd wrth un, "Yr wyf yn rhoddi hawl i chwi gael eich galw yn *Athrawon*," ac ar yr un pryd yn dywedyd, "Na alwer chwi yn Athrawon; canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist." Fel hyn y mae'r haeriad fod Duw wedi cynnysgaeddu rhai dynion â hawl i farnu dros

ereill yn cynnwys ei fod yn awdwr yr anghysonderau mwyaf. Os bydd dyn yn argyhoeddedig yn wyneb Gair Duw fod rhyw egwyddorion yn wirionedd, nid oes eisiau i neb arall wneuthur credo drosto, oblegyd y mae ganddo eisoes gredo o'i eiddo ei hun. Os na bydd yn argyhoeddedig yn ngwyneb Gair Duw fod rhyw egwyddorion yn wirionedd, ni etyb yr un dyben i neb arall wneuthur credo drosto. Nid oes eisiau credöau rhai ereill ar y cyfrai y sydd yn chwilio a barnu drostynt eu hunain, ac ni ddylai neb o dan ei berygl gymmeradwyo unrhyw osodiad heb yn gyntaf ei chwilio a'i brofi yn wyneb gair Duw, a gweled â'i lygaid ei hun ei fod yn gysson â'i gynnwysiad.

Tybir fod y sylwadau uchod yn ddigon i brofi y rhan gyntaf o'r gosodiad, sef nad oes gan neb HAWL i farnu dros arall.

Nid oes gan neb GYMHWYSDER i farnu dros arall.

Ni chynnysgaeddwyd neb ag ysbryd anffaeledigaeth, ac heb anffaeledigaeth nid oes neb yn gymhwys at y gorchwyl hwn. Os trown at y rhai a gamenwir "Tadau yr Eglwys," cawn weled fod y naill Dad yn gwrthwynebu y llall, ac yn fynych iawn yn anghysson â'u gilydd. Rhaid bod rhai o honynt yn camsynied. Os trown at Gynnadleddau, cawn weled Cynnadledd yn erbyn Cynnadledd, a Chynnadledd un oes yn dirymu penderfyniadau Cynnadledd oes flaenorol. Nis gall eu bod yn anffaeledig. Nis gall neb dynion hòni cymhwysder i farnu dros ereill, oddieithr iddynt allu profi bod ysbryd anffaeledigaeth yn cyfansoddi y rheolau a gyhoeddir ganddynt, a bod y cyfryw o gyd-radd awdurdod â thystiolaeth y prophwydi a'r apostolion.

Os dywedir fod gan ereill hawl i farnu trosom, a gosod rheolau ger ein bron gan ofyn ein cydymffurfiad, ac etto nad yw hyn mewn un modd yn dinystrio hawl bersonol pob dyn i farnu drosto ei hun, gellir atteb, bod yr haeriad hwn yn ang-

hyson ag ef ei hun, ac felly nis gellir profi ei fod yn wirionedd. Y mae yn cynnwys dwy egwyddor anghymmodadwy, ac os gwir un, rhaid mai anwir yw y llall. Nis gall y ddwy fod yn wir. Os oes gan arall hawl i farnu trosof, amlwg yw nad oes genyf I hawl i farnu trosof fy hun; ond os oes genyf hawl i farnu trosof fy hun, yr un mor amlwg yw nad oes gan neb arall hawl i farnu drosof. Os dilynaf grêd rhai ereill, rhaid imi anghredu fy nghrêd fy hun, yr hyn sydd yn analluedig; ac os dilynaf fy nghrêd fy hun, amlwg yw y rhaid imi anghredu crêd y rhai y dywedir bod ganddynt hawl i wneuthur credo drosof. Y mae dynoethiad y fath anghyssonderau yn ddigonol i beri i bawb eu halltudio byth o'i fynwes.

Y mae y gosodiad fod gan rai dynion hawl i farnu dros ereill, yn osodiad sydd yn *hunan-ddinystriol.* Pa fodd y gellir gwybod fod gan rai dynion y cyfryw hawl? Rhaid i ddyn farnu trosto ei hun, cyn y gallo wybod a oes gan ereill hawl i farnu drosto ai peidio. Os oes gan ddyn gymhwysder i farnu y pwnc hwn er boddlonrwydd iddo ei hun, y mae ganddo gymhwysder i farnu pob pwnc er boddlonrwydd iddo ei hun, ac felly nid rhaid iddo wrth un ddeddf heblaw y Bibl.

Ni ddylid galw neb i ymostwng i farn ereill, heb yn gyntaf ei annog i farnu drosto ei hun a ydyw yn addas a phriodol iddo wneuthur felly; ac os oes ganddo gymhwysder i farnu hyn, paham nad oes ganddo gymhwysder i farnu pob peth hanfodol er ei iechydwriaeth?

Amcanwyd profi fod gan bob dyn Hawl a Chymhwysder i farnu drosto ei hun, trwy ddangos nad oes gan neb arall Hawl na Chymhwysder i farnu drosto.

II. Ni ddarfu Athrawon cyntaf Cristiaeth erioed honi yr Hawl o farnu dros ereill, er eu bod o dan lywyddiaeth anffaelbdig yr Ysbryd Glan.

Nid ar sail cadernid awdurdod, ond ar sail cadernid tystiolaeth yr oeddynt yn dysgwyl argyhoeddi meddwl dynion. *Ymresymodd* Phylip gyda'r Efnuch galluog o Ethiopia, ac a brofodd er boddlonrwydd iddo trwy gadernid tystiolaeth mai Iesu o Nazereth oedd Messïas yr Ysgrythyrau. *Ymresymodd* Paul gyda'r Iuddewon yn Athen "yn y synagog, ac â'r rhai crefyddol yn y farchnad beunydd, ac â'r rhai a gyfarfyddent ag ef," Act. 17. 17. Nyni a ddeallwn fod llawer yn dyfod i'w letty tra yn Rhufain, "i'r rhai y *tystiolaethodd* ac yr *eglurodd* efe deyrnas Duw, gan *gynghori* iddynt y pethau am yr Iesu," Act. 28. 23. Canmolir y Bereaid, a dywedir am danynt eu bod yn "foneddigeiddiach na'r rhai oedd yn Thessalonica, y rhai a dderbyniasant y gair gyda phob parodrwydd meddwl, gan *chwilio beunydd yr Ysgrythyrau a oedd y pethau hyn felly,* Act. 17. 11. Fel hyn yr oedd Athrawon ysbrydoledig yn ymddwyn. Yr oeddynt yn dysgu yr anwybodus, yn ymresymu gyda'r cyfeiliornus, ac yn canmol yr ymofyngar. Nid oeddynt yn bygwth dynion â chospau dynol, nac yn denu â gwobrau dynol; ond yr oeddynt am eu *rhesymu* allan o'u rhagfarnau. Eu gorchymyn oedd i Gristionaid gydoddef eu gilydd mewn cariad, i'r hwn oedd yn bwyta i beidio a dirmygu yr hwn nad oedd yn bwyta, ac i bob un fod yn sicr yn ei feddwl ei hun. Gofyna Paul yn llawn o aidd santaidd, "Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? I'w arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll neu yn syrthio," Rhuf. 14. 3. Yn yr ymadrodd hyn efe a ddengys hawl pob dyn i farnu drosto ei hun, ar yr un pryd yr héria ac y cerydda y gormeswr hyf a feiddia ymosod arni. Yr un modd yr ysgrifenodd efe at y Corinithiaid, "Dywedyd yr wyf fel wrth rai synwyrol; bernwch chwi beth yr wyf yn ei ddywedyd." 1 Cor: 10. 15. Oddiwrth y cyfan gallwn weled yn eglur fod Athrawon cyntaf Cristiaeth, er eu bod yn ysbrydoledig, gwedi dangos yn eglur yn eu hesampl, yn

gystal ag yn eu hathrawiaeth, mai peth i'w goleuo, ac nid i'w threisio, ydyw cydwybod enaid anfarwol.

III. GWAHERDDIR NI YN GADARN YN NGAIR DUW I YMOSTWNG I REOLAU O DDYNOL OSODIAD.

"*Eithr na'ch galwer chwi Rabbi; canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist; a chwithau oll brodyr ydych. Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear: canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd. Ac na'ch galwer yn athrawon: canys un yw eich athraw chwi, sef Crist,*" Mat. 23. 8—10.

Yr oedd y teitlau Rabbi, Tad, ac Athraw, yn cael eu rhoddi gan yr Iuddewon i'w gwŷr doethion, tadau traddodiad, a'r helaethaf eu deall yn nghyfraith Moses. Yr oeddynt yn edrych ar farnau y rhai hyn fel o gyfartal bwys ac awdurdod â gwaith ysgrifenwyr ysbrydoledig. Wrth wahardd i'w ddyscyblion gymmeryd y teitlau hyn eu hunain, y mae Crist yn eu gwahardd i draws-hóni awdurdod ar ffydd ereill: ac wrth wahardd iddynt roddi y teitlau hyn i ereill, y mae yn gwahardd i gydnabod fod gan neb y fath awdurdod ar eu ffydd hwythau. Un yw Tad ein crefydd ni, sef Duw; ac un yw Athraw ein ffydd ni, sef Crist; a gwaherddir yn gadarn i ni ymostwng i unrhyw reolau, heblaw rheolau Duw a Christ yn y Gair.

IV. MAE YMDDIRIED YN MARN EREILL YN BETH TRA PHERYGLUS.

Yr Arglwydd a felldithia yr hwn a "ymddired mewn dyn, ac a wnel gnawd yn fraich iddo," Jer. 17. 5, ac os peryglus ydyw ymddiried yn ormodol i *allu* dynol, diau mai peryglus hefyd ydyw ymddiried yn ormodol i *wybodaeth* ddynol. O, y fath ymddiried gorbwysfawr yw hwn! Cau ein llygaid ein hunain, ac ymostwng i farn ereill mewn achosion perthynol i wynfyd neu drueni bythol ein heneidiau!

Y mae amrai beryglon yn bod. Dichon fod y dynion ag y perchir rheolau eu cyfansoddiad yn *rhagrithwyr*, ac heb gredu eu hunain y rheolau a osodant i ereill, ond yn cael eu llywodraethu gan obaith o elw ac anrhydedd, neu gan ofn o golled a gwaradwydd. Y mae perygl.

Dichon fod y rhai yr ymddiriedir iddynt, eu hunain gwedi ymddiried i ereill, a'r rhai hyny eilwaith gwedi ymddiried i ereill, a'r rhai hyny drachefn gwedi ymddiried i ereill, ac felly i bellder mawr yn ol y naill yn dilyn y llall, ac yn rhodio y ffordd agored, ond nid efallai yr un gywir. Y mae perygl.

Dichon fod yr hwn a ymddengys, "yn dywysog i'r deillion, yn llewyrch i'r rhai sydd mewn tywyllwch, yn athraw i'r anghall, ac yn ddysgawdwr i'r rhai bach," Rhuf. 2. 19, 20.—dichon, meddaf, ei fod ei hunan yn ddall, yn dywyll, yn ffol, ac yn faban mewn gwybodaeth, yn meddu ar fwy o hyfdra nag o oleuni, ac o fwy o awydd at awdurdod nag o hunan-wadiad Cristiol. Y mae perygl.

Dichon fod yr hwn a elwir yn *Athraw yn Israel* ei hunan yn anwybodus o egwyddorion teyrnas Dduw, a bod y rhai a *eisteddant yn nghadair Moses* eu hunain yn halogedig gan y lefain ag y gorchymynir i Gristioniaid ei ochelyd. Y mae perygl.

Ysgatfydd y dywed rhywun ei fod ef yn llwyr gredu fod y dynion, credöau a rheolau pa rai y mae efe yn eu dilyn, yn ddynion dysgedig, doeth a duwiol. Gofynaf iddo, "A fuost ti yn chwilio ac yn barnu hyn trosot dy hun?" Os etyb ei fod, gofynaf eilwaith. "Onid llai o drafferth a fuasai iti chwilio a barnu drosot dy hun ychydig o egwyddorion sicr ac eglur y Gair, na chwilio a barnu yr hyn nas gelli fod yn sicr o hono, sef gwir nodweddiad y personau ag yr wyt ti yn dewis eu galw yn Dadau, ac yn dewis cyfenwi dy hun yn ddyscybl iddynt? Ai haws gwybod eu gwir garictor hwy na gwybod

meddwl eglur Duw yn ei Air." Mewn gair, cynnwysa yr ymddiried i farnau a rheolau ereill amrai beryglon, ac nid y lleiaf o honynt ydyw anfoddlonrwydd Duw. "Yn ofer y'm anrhydeddant i, gan ddysgu gorchymynion dynion yn ddysgeidiaeth," Mat. 15. 9.

V. Un o hanfodol ddefnyddiau dedwyddwch dyn fel bod rhesymol ydyw rhyddid i farnu drosto ei hun.

Yn awyr rhyddid yr anadla dyn yn iach a chysurus. Ymddifadwch ef o ryddid ei gorff, a chwi a'i soddwch i bydew helbul; ac ymddifadwch ef o ryddid ei feddwl, a chwi a'i darostyngwch i gyflwr nas gall lai na bod yn druenus.

Gwaherddwch i ddyn y rhyddid o farchogaeth edyn y gwynt—cyhoeddwch gyfraith i'w attal rhag cyd-deithio gyda'r haul trwy gylchdaith anferth yr awyr—gosodwch ddeddf i'w rwystro i ddringo at y ser ac i hwylio o amgylch y bydysawd, ac er na buasai byth yn meddwl cyflawni y gorchestion anallueddig hyn, etto trwy wahardd yn awdurdodol iddo eu cyflawni chwi a leihewch ei ddedwyddwch. Nis gall oddef heb boen gyfyngiad ei feddwl. Rhyddid sydd ragorfraint yr enaid, a theimla boen y fynyd y ceisir ymosod ar ei iawnderau. Nis gall yr enaid dynol oddef unrhyw derfynau heblaw y terfynau hanfodol i gyfansoddiad ei natur fel creadur. Nid yw cylch rheolau dynol yn ddigon ëang iddo allu ymdroi ynddo.

VI. Nid yw gosodiad rheolau dynol yn ateb y dyben a olygir yn y cyfryw osodiad.

Y dyben a olygir yn ngosodiad credöau dynol ydyw dwyn oddiamgylch gyd-rhyw olygiad, a gwneuthur dynion yn unffurf mewn barn ac ymarferiad. Ond y mae prawf boddhaol gwedi ei gael nad ydyw y cyfryw osodiad yn foddion digonol i ateb y dyben, ac mai yr un fath fyddai ceisio rhwymo gronynau goleuni yr haul â chadwynau heiyrn, ag ydyw ceisio rhwymo

y meddwl dynol â deddfau o unffurfdeb. Yr un peth fyddai cael deddf i beri fod gwyneb y ddaear o'r un ffurf, anifeiliaid o'r un lliw, adar y nefoedd o'r un plu, a gwynebau dynion o'r un llun, ag ydyw ceisio rhwymo y meddwl dynol trwy ddeddfau treisiol.

Ni bydd dynion yr un gronyn nes i undeb golygiadau drwy danysgrifio yr un Erthyglau, a rhith-dderbyn yr un Credo. Y mae y pleidiau sydd yn dilyn unrhyw drefniant ddynol yn berwi o gymmysgedd. Cymmerwn yr Eglwys Wladol fel engraifft. O fewn ei muriau gellir gweled Clark yr Ariad, Waterland y Trinitariad, Hawker yr Antinomiad, a Whitby yr Arminiad. Calfiniaeth, Arminiaeth, Ariaeth, Swedenborgiaeth, Southcotteiaeth, Irvingiaeth, &c. oll fel cawl yn yr un crochan. Mewn un plwyf adnabyddus i mi y mae Calfiniaeth yn cael ei derchafu fel athrawiaeth y gwirionedd; mewn plwyf arall adnabyddus i mi y mae yn cael ei difrïo fel cyfeiliornad dinystriol. Gwn am blwyf lle y mae Arminiaeth yn cael ei gosod allan fel y wir ffydd; a gwn am blwyf arall lle y mae yn cael ei ddarlunio fel pryf gwedi codi o fŵg y pydew: ac eto y mae'r offeiriaid yn y naill blwyf a'r llall gwedi tanysgrifio yr un Erthyglau ffydd. Yr un peth fyddai son am unoliaeth iaith tŵr Babel, ag ydyw son am unoliaeth barn Eglwys Loegr. Y mae fel arch Noah yn cynnwys "anifeiliaid glân, ac anifeiliaid nid oeddynt lân, ehediaid hefyd, a'r hyn oll a ymlusgai ar y ddaear."

Un peth ydyw *undeb*, a pheth arall tra gwahanol ydyw *unffurfdeb*. Gall y naill fodoli heb y llall. Y mae hanes eglwysi gwladol yn mhob oes yn dangos y gall *unffurfdeb* fodoli heb *undeb;* ac y mae hanes yr Eglwysi Annibynol yn dangos y gall *undeb* fodoli heb unrhyw ddeddf o *unffurfdeb.*

Nid yw'r unffurfdeb a ddeillia oddiar arwyddnodiad cyffesion a chydffurfiad â rheolau dynol ond cyffelyb i fedd gwedi ei wyn-galchu, yn ymddangos yn lân a phrydferth oddiallan, tra

oddifewn yn llawn o bydredd a ffieidd-dra. Gellir dywedyd yn ëon fod mwy o undeb cariad ac o wir gyssondeb golygiadau rhwng yr eglwysi hyny ag a ddiarddelant bob cyffesion, erthyglau, a rheolau, heb y Bibl, nag sydd rhwng yr eglwysi a ddilynant gredöau dynol; gan nad yw y credöau a threfniadau yn amgen na meini tramgwydd a muriau gwahaniad yn y gorlan gyffredin, ac yn y pen draw yn arwain yn anocheladwy i anghydfod, rhwygiadau ac erlidiau.

VII. Y MAE FOD RHAI DYNION YN GOSOD EU BARNAU EU HUNAIN YN RHEOL I EREILL YN YMHONIAD HAERLLUG O ANFFAELEDIGAETH, AC YN CYNNWYS YNDDO HANFOD PABYDDIAETH A FFYNNONELL POB ERLEDIGAETH A FU YN Y BYD ERIOED.

*Y mae yn ymhoniad haerllug o anffaeledigaeth.* Rhagymadrodd priodol iawn i benderfyniadau y Rabbiaid Protestanaidd fyddai rhywbeth tebyg i hyn,—"Gyfeillion Cristiol, i'r dyben o ddiogelu i chwi adnabyddiaeth gywir o'r wir ffydd yn ei holl egwyddorion, ac i'ch cadw rhag syrthio i gyfeiliornadau trwy ymddiried i'ch barn ffaeledig eich hunain, yr ydym ni, y rhai nas gallwn brofi ein hanffaeledigrwydd mwy na chwithau, na dangos nad ydym mor agored i gamsyniad a chwithau, yn cyhoeddi y rheolau hyn fel y wir Ffydd, ac yn gofyn i chwi eu derbyn a'u credu fel y gwirionedd."

Os dywedir fod rhyw ran o'r Gair mor *dywyll* fel nas gellir ei ddeall heb ddeongliad, yna gellir gofyn pwy a gynnysgaeddodd rai dynion ag awdurdod i ddwyfoli ei ddeongliad, ac i ormesu ar ryddid ereill trwy ei osod fel rheol iddynt? Os dywedir fod y Gair mor *eglur* fel y gall pawb weled fod y deongliad yn gywir, yna gofynir pa raid wrth ddeongliad yn y byd a'r Gair mor eglur fel y gall pawb ei ddeongli ei hun? Y naill ffordd a'r llall amlygir aflesoldeb deongliadau o ddynol osodiad. Y mae'r Ysgrythyr yn anffaeledig, ond nid yw

deongliadau dynion o honi felly. Y mae Duw gwedi rhoddi rhyddid i bob dyn i farnu drosto ei hun; ond nid yw gwedi rhoddi awdurdod i neb dyn na neb dynion i farnu dros ereill.

Gofynaf, "A oes rhyw ysgrythyr a ellir ei ddeall mewn *un* ystyr yn unig, neu mewn *amrai* ystyriaethau?" Os mewn *un* ystyr y gellir ei deall, yna pa raid newid ymadroddion yr Ysbryd ei hun? Os gellir ei deall mewn *amrai* ystyriaethau, pa fodd y dangosir fod gan un dyn, neu unrhyw nifer o ddynion ffaeledig hawl na chymhwysder i benderfynu pa un o'r ystyriaethau hyny ydyw yn anffaeledig yr un cywir. I derfynu ymadroddion *ehang* yr Ysgrythyr, y rhai y gellir rhoddi amrai ystyriaethau iddynt, i *un* ystyr benderfynol, a galw ar ddynion i eu credu yn yr ystyr *hwnw*, a gwrthod pob ystyr arall a ellir ei roddi arnynt, sydd gyfyngiad ar air Duw, dwyfoliad o'n tybiau ein hunain, a gormesiad ar gydwybodau ereill.

*Y mae yn cynnwys ynddo hanfod Pabyddiaeth.* Oddiar y cariad yma i awdurdodi ar gydwybodau ereill y cododd y Dyn Pechod ei ben gyntaf, a'r ysbryd hwn sydd gwedi cynnal anghrist heb syrthio hyd y dydd hwn. Y dyn hwnw a chwennycho wneud ei grêd ei hun yn rheol crêd i ereill sydd Babydd o ran ei ysbryd beth bynag ydyw o ran ei broffes, ac yn cofleidio yr egwyddor ar sail pa un y cododd ac y llwyddodd Pabyddiaeth. Gwedi i ddyn unwaith golli golwg ar ei waeledd, a thybied fod ei gredo yn berffaith gywir, nid anhawdd wed'yn fydd ganddo ddringo i ben pinacl anffaeledigrwydd a cheisio cilgwthio Crist o'i orsedd gan waeddi, "*Myfi yw y gwirionedd!* mor agos ag y byddo crêd arall i'r eiddo fi, mor agos a hyny ydyw i'r gwirionedd. *Myfi yw y gwirionedd!* Mor bell y byddo crêd arall oddiwrth yr eiddof fi, mor bell a hyny ydyw oddiwrth y gwirionedd. *Myfi yw y gwirionedd!*"—Fel hyn y pryfyn ffaeledig a ddinystra Lyfr y Gor-

uchaf, trwy wneud ei grêd ei hun yn faen prawf i brofi iachusrwydd ffydd ereill, yn lle Gair Duw.

*Y mae yn cynnwys ffynnonell pob erledigaeth a fu erioed yn y byd.* Cododd erledigaethau pob oes oddiar fod dynion yn cyfansoddi rheolau ac yn eu sefydlu trwy awdurdod, Gelwid pawb a gydffurfient â'r rheolau hyn yn *orthodox* (uniawn-grêd), a phawb a anghydffurfient yn *heterodox*, sef gau-grêd, hereticiaid, sismaticiaid, &c. Gwedi hyn dechreuid erlid yr anghydffurfwyr; defnyddid tân, carchar, cleddyf, alltudiad, a'r holl rês fawr o arfau anghyfiawnder, a'r cwbl a haerid *o blaid y gwirionedd!* Cuddid y gormes a'r trawsawdurdod o dan enwau prydferth, megys, "Ymdrech dros y ffydd—amddiffyn y gwirionedd—sefyll o blaid purdeb yr athrawiaeth—attal cyfeiliornadau i ddinystrio heddwch yr eglwys," &c. Os gwrandewid ar yr erlidwyr nid oedd dim balchder, dim llid, dim nwydau, dim malais yn eu llywodraeth,—nac oedd siwr—dim ond *cariad at y gwirionedd!* Oeddynt yn dirwyo, fflangellu, carcharu, alltudio, lladd a llosgi eu cyd-ddynion, a'r cwbl o *gariad at y gwirionedd!* Oddiwrth y fath gariad a'i holl effeithiau gwared ni, Arglwydd daionus.

Nid oes un prawf y traws-gymhellid ddeddfau o unffurfdeb pe byddai y Messiah yn teyrnasu yn bersonol ar y ddaear: pa mor ryfygus gan hyny a raid fod yr ymddygiad hwnw o eiddo unrhyw ddyn, neu unrhyw nifer o ddynion, o wneuthur peth nad ydyw yn ymddangos y buasai Pen mawr yr eglwys ei hun yn ei wneuthur?

---

## RHAN III.

*Dyledswydd pob dyn i farnu drosto ei hun.*

Yn y ddwy ran flaenorol o'r Traethawd hwn amcanwyd dangos *mai yr Ysgrythyr lân yw unig Reol Ffydd ac Ym-*

*arweddiad; fod Hawl a Chymhwysder gan bob dyn i farnu drosto ei hun;* ac yn bresennol amcenir dangos *mai Dyledswydd pob dyn ydyw dwyn ei Hawl a'i Gymhwysder i weithrediad er ateb y dyben hyny.*

Gellir profi hyn trwy ystyried,—

I. Gorchymynion y Gair.

Ioan 5. 39.—Chwiliwch yr Ysgrythyrau.

1 Cor. 10. 15.—Dywedyd yr ydwyf fel wrth rai synwyrol: bernwch chwi beth yr wyf yn ei ddywedyd.

1 Thes. 5. 21.—Profwch bob peth: deliwch yr hyn sydd dda.

1 Pedr 3. 15.—Byddwch barod bob amser i ateb i bob un a ofyno i chwi reswm am y gobaith sydd ynoch.

1 Ioan 4. 1.—Anwylyd, na chredwch bob ysbryd: eithr profwch yr ysbrydion ai o Dduw y maent.

Dichon y gwrthddadleuir, "Os caniateir rhyddid i bob dyn farnu drosto ei hun, fe'i cynnysgaeddir ef â'r rhyddid i farnu yn gyfeiliornus." I hyn gellir ateb, "Os ymddifadir dyn o'r rhyddid i farnu drosto ei hun, fe'i hymddifadir ef o ryddid i farnu yn gywir, ac felly wrth geisio attal y drwg, chwi ddadwreiddiwch y da."

Rhyddid i ddyn farnu drosto ei hun sydd, nid i gefnogi cyfeiliornad, ond i faethu y gwirionedd; nid i droseddu yn erbyn iawnderau neb, ond i ddiogelu breintiau cyfartal i bawb. Nid ydyw ffolineb y plentyn yn rhoddi hawl i neb ddifodi rhyddid y dyn.

Rhai dynion a gymmerant arnynt fod perygl mawr yn nglŷn a gadael i bob dyn i farnu drosto ei hun. Dywedaf ddau air wrth y cyfryw:—

*Yn gyntaf,* Gochelwch fod rhyw ymlyniad yn eich meddwl at unrhyw wrthddrych heblaw y gwirionedd. Y mae'r ofn a broffeswch yn arwydd ddrwg-dybus. Saif y Gwirionedd, a llwydda hefyd, er ei chwilio a'i brofi yn y modd manylaf

Nid oes perygl i hwn. Rhaid addef fod perygl i ddychymmygion, gosodiadau a thraddodiadau dynol syrthio o flaen ymchwil personol,—ond pa niweid a fydd eu colli? Pa berygl, yn hytrach, onid annhraethol les a ddilyna eu cwymp?

*Yn ail,* Er llonyddiad i'ch ofn y mae genyf air o gysur i chwi, a hyny ydyw, *y mae rhan fawr o'r perygl (pe byddai berygl) gwedi myned heibio!* Er gwaethaf holl osodiadau dynol y mae mwy o ymchwil a barn bersonol yn yr oes hon nag mewn un oes flaenorol, a geilir gofyn pwy welodd berygl? Perygl i ba beth ydyw? Ai perygl i bethau dwyfol, ynte pethau dynol? Edrycher i'r *Gwledydd* lle yr attelir ysbryd rhydd-ymofyngar, a gwelir fod *yno* berygl a thrueni mawr mewn gwirionedd.

Yr un peth fyddai i ddynion haeru y gwna marsiandïaeth niweidio ein masnach, rhodio andwyo ein hiechyd, anadlu ddrygu ein hysgyfaint, neu addoli Duw lygru ein moesau, ag ydyw haeru y gwna ysbryd rhydd-ymofyngar aflonyddu heddwch cymdeithas; *oddieithr* yn unig pan y byddo y cyfryw heddwch yn seiliedig ar *drais, elw, anwybodaeth, ofergoeldeb,* neu *ragfarn;* a phwy na orfoleddai yn aflonyddiad a dinystr y fath heddwch?

Un peth ydyw *heddwch* tawel, a pheth arall tra gwahanol ydyw *caethiwed* tawel. Y mae math o lonyddwch sydd niweidiawl, ac y mae math o aflonyddwch sydd lesawl. Nid heddwch ydyw ymadael â'r Gair, a pharchu gosodiadau dynol. Rhyfel ydyw hyn yn erbyn awdurdod Crist. Nid heddwch ydyw cydffurfio yn gaethwasaidd â threfniadau dynol, ond *gorphwysfa segurdod,* ac os gellir chwalu ac aflonyddu yr orphwysfa bechadurus hon, bydd gan bob pleidiwr cywir i drefn Duw achos i orfoleddu.

II. Eglurdeb ac addasrwydd y Rheol.

Gan fod Duw wedi cynnysgaeddu pawb â Rheol eglur a

chyfaddas, dyledswydd pawb ydyw gwneuthur defnydd o honi. Y mae genym bob manteision (ond eu defnyddio) tuag at gynnyddu mewn gwybodaeth ysbrydol o Dduw ac o'i drefn. Y mae genym Air dadguddiedig Duw, ei ddeddfau digyfnewid, siampl Crist, cynnygiad o nerth ei ras ac o ddylanwad ei Ysbryd i'n harwain i bob gwirionedd, ac i'n troi o dywyllwch i oleuni, ac o weithredoedd meirwon i wasanaeth y Duw byw. Bydded i ni gan hyny edrych uwchlaw deddfau niwlog gormes, a gosodiadau cymmylog ofergoeldeb, a syllu ar Haul Cyfiawnder, yr hwn sydd gwedi ymddangos yn ffurfafen yr Ysgrythyr lân, â meddyginiaeth o dan ei esgyll.

III. Y Cymmeriad yr ydym dano.

Yr ydym yn cynnal cymmeriad triphlyg, fel *Rhesymolion, Cristioniaid,* a *Gwrthdystiaid.*

Fel *Bodau rhesymol* yr ydym yn gymhwys, fel *Cristioniaid* yr ydym o dan rwymau, ac fel *Gwrthdystiaid* yr ydym yn proffesu i farnu drosom ein hunain. Os heb chwilio a barnu drosom ein hunain, yr ydym yn cuddio y dalent a roddwyd i ni fel *Bodau rhesymol,* yn diystyru y rhyddid i ba un y'n galwyd fel *Cristioniaid,* ac yn bradychu yr egwyddorion ar ba rai y dylem weithredu fel *Gwrthdystiaid.*

IV. Rhesymoldeb barn bersonol.

Nid oes ond barn bersonol yn unig yn rhinweddol a chymmeradwy, a'r dyn ag sydd hebddi sydd heb farn yn y byd.

Y mae dau fath o *sêl* grefyddol, sef, *sêl* oddiar egwyddorion a *sêl* heb egwyddorion. *Sêl* y naill sydd rinweddol, a *sêl* y llall sydd gnawdol, nwyd-wyllt a di-reol. Os marwolaethir y naill oblegyd ei grefydd bydd marw fel *Merthyr,* ac os marwolaethir y llall oblegyd ei grefydd bydd marw fel *Penboethyn.* Parch i'r gwirionedd a chariad diysgog tuag ato a lywodraetha y naill: poethder nwydau allanol yn nghyda phenglogrwydd anwybodus a lywodraetha y llall. Rhinwedd

fyddai dyoddef marwolaeth yn y naill, a Rhyfyg yn y llall. Nid yw Duw yn cymmeradwyo y fath Ffydd ag a seilir ar awdurdod ddynol. Credu mewn dynion ydyw hyn, ac nid ynddo ef. Ewyllys y Goruchaf ydyw ar fod pawb o'i eiddo yn gwybod eu hunain *pa beth* y maent yn eu gredu, *pwy* a gredant, a *phaham* y credant.

V. Llesoldeb barn bersonol.

Barn bersonol ydyw unig lwybr cynnydd. Y mae gadael i ereill farnu trosom yn atalfa effeithiol i ein cynnydd. Y mae cymmaint o berygl i ni nychu ein henaid, ag ydyw i fammaeth nychu plentyn a fyddo tan ei gofal. Y mae'r enaid dynol yn ymehangu trwy ei ddwyn i weithrediad. Po leiaf o waith a gaffo, lleiaf y prifia; ond po fwyaf o waith a osodir iddo, mwyaf y tyf ac yr ymleda.

Y mae gadael i ereill farnu trosom yn ddirmyg ar ein cyfansoddiad fel bodau rhesymol, yn ddinystrwch ar y moddion gwybodaeth a ymddiriedodd Duw i ein gofal, ac yn atalfa effeithiol i'r enaid gynnyddu mewn gras a gwybodaeth ysbrydol.

Mewn Athronyddiaeth ac yn y Celfyddydau ystyrir y gall awdurdod ddynol ein camarwain, ac ni ymorphwysir arno.

Pe buasai Syr Isaac Newton gwedi ymfoddloni ar farn ereill, mor ddiffygiol a fuasem o wybodaeth athronyddol! Pe buasai Columbus gwedi ymorphwys ar farn ereill cyn darganfuad yr Amerig, mor ddiffygiol a fuasem o wybodaeth ddaearyddawl! Mewn pethau naturiol yr ydys yn ystyried nid *pwy* a ddywed ond *beth* a ddywedir, a phenderfynir trwy weithrediad Rheswm, ac nid trwy rym awdurdod. Ond mewn Crefydd, cymmerir ffordd arall. Awdurdod, ac awdurdod yn unig a ddefnyddir gan rai, ac a ddôf-ymostyngir iddo gan ereill; ac felly y nychir ysbryd ymofyngar, ac yr attelir dynion rhag gwneuthur defnydd priodol o'u galluoedd er cynnydd mewn gwybodaeth a rhinweddau Cristaidd.

VI. Cyfrif personol y Farn ddiweddaf.

Os cywir y Credöau a gyfansoddir gan ddynion, a wobrwyir ni am eu derbyn yn ddiymchwil? Os anghywir ydynt, a fydd y cyfansoddwyr yn foddlawn i fod yn gyfrifol drosom? Os boddlawn fyddant, a ganiateir iddynt fod felly? Os na fyddant gyfrifol drosom, ni ddylent gael barnu drosom: os rhaid i ni roddi cyfrif drosom ein hunain, dylem farnu drosom ein hunain.

Y sawl a farna drosto ei hun, os camsynia, efe a wna felly drosto ei *hun*, ac er colled *iddo ei hun yn unig*. Ond y sawl a gyfansoddant reolau crêd ac a'u cefnogant drwy awdurdod o ryw natur, a farnant dros ereill, ac os camsyniant, gwnant felly dros *ereill*, ac er *niweid a cholled i ereill.*

Gan y bydd raid i bob dyn roddi cyfrif personol drosto ei hun yn y Farn ddiweddaf, amlwg ydyw y dylai pob dyn tra yn y sefyllfa hon chwilio a barnu drosto ei hun yn bersonol.

---

## RHAN IV.

### *Tuedd Ymarferol y Gosodiadau.*

Y Gosodiadau a amcanwyd eu profi oeddynt, *Mai yr Ysgrythyr lân ydyw unig Reol Ffydd ac Ymarferiad,—Fod gan bob dyn Hawl a Chymhwysder i farnu drosto ei hun,—ac, Mai Dyledswydd pob dyn ydyw gwneuthur felly.* Yn bresennol ymdrechir dangos *Tuedd Ymarferol y cyfryw Osodiadau.*

I. *Dangosant ini Resymoldeb Crefydd Crist.* Y mae Crefydd y Cyfryngwr mor gadarn fel y mae yn gwahodd pawb i ei phrofi a'i chwilio, ac wrth wneuthur felly y canfyddir ei grym a'i chadernid. "*Ymostyngwch,*" medd deddfau dynol: "Chwiliwch," medd Crefydd Iesu. "*Plygwch,*"

medd deddfau dynol: "PROFWCH," medd deddf y Gwaredwr. Nid oes ar Grefydd Crist gywilydd i ddangos ei hun yn yr hyn ag ydyw, oblegyd hi a dâl ac a ddeil ei phrofi a'i chwilio i'r manylrwydd perffeithiaf, ac am hyny y cyfeiria at Reswm a Chydwybodau dynion.

Yn fynych yr enllibir Ymneillduwyr o herwydd pleidio yr egwyddor bod gan bob dyn hawl a chymhwysder i farnu drosto ei hun, a dywedir eu bod yn ymladd yr un ochr i'r clawdd a'r anffyddiaid. Ond gofynir, A raid gwadu egwyddor gywir o herwydd fod dynion o egwyddorion drwg yn gwneuthur defnydd o honi? Ymaith â'r dybiaeth ffol, oblegyd pe felly, bydd raid gwadu yr egwyddorion egluraf yn ngrefydd Natur a Dadguddiad.

Gwir yw mai yr egwyddor hon ydyw un o'r eirf mwyaf miniog sydd gan yr anffyddiaid: ond gellir holi pwy y mae yn ei glwyfo? Beth a drywenir ganddi? Nid Cristiaeth, oblegyd y mae hon yn cofleidio yr egwyddor, ac nid yn ei gwrthwynebu. Pa beth ynte? Atebaf, y mae yn trywanu gosodiad rheolau trwy awdurdod—y mae yn trywanu sefydliad crefydd trwy gyfraith—y mae yn trywanu gosodiad crêd trwy orthrech. Nid Crefydd Crist, ond dychymygion a gosodiadau treisiol, a drywenir. Gwinged y clwyfus, ynte, o dan ergydion yr anffyddiaid, y mae Crefydd Crist yn iach a diglwyf.

Gellir dywedyd yn ëon mai gwadiad o hawl pob dyn i farnu drosto ei hun ydyw prif gryfder anffyddiaeth. Wrth arddel yr egwyddor yma, a dangos ei bod yn gyd-safadwy â holl egwyddorion Cristiaeth, ïe, ei bod yn un o'i hegwyddorion mwyaf pwysig a chyssegredig, yr ydys yn cipio y cleddyf o law y Deist, yn gwanychu ei fraich, yn sugno ei rym, yn bwyta ei gryfder, ac yn tori ei ben â'i gleddyf ei hun.

II. *Cynhyrfant ni i fod yn wrol i arddel ein hegwyddor-*

*ion, ac i ddefnyddio pob moddion priodol tuag at eu taenu a'u hamddiffyn.* Os nad yw egwyddorion Ymneillduaeth yn seiliedig ar yr Ysgrythyr, paham y proffeswn eu cymmeradwyo? Os ydynt seiliedig ar yr Ysgrythyr, paham y petruswn eu harddel a'u cyhoeddi?

Ni ddylai neb arddel nac amddiffyn dim o'r hyn y mae yn ei gredu sydd gyfeiliornus; ac ni ddylai neb betruso arddel ac amddiffyn dim o'r hyn y mae yn ei gredu sydd wirionedd. Dirmygedig yw y dyn hwnw, yr hwn, gwedi iddo gael gafael ar y gwirionedd, a'i ceidw iddo ei hun o herwydd ofn drygu llesiant personol, neu o dan yr esgus ynfyd nad yw'r amser yn ddigon addfed etto i wneuthur ei gred yn gyhoeddus. Pa bryd ydyw'r amser addfed? Atebaf, mai y fynyd y canfyddir gwirionedd ydyw yr amser cyfaddas i ei gyhoeddi. Pe buasai dynion gwedi gwrando bob amser ar y chwedl wrachïaidd hon, a gwedi aros i gael "amser addfed" trwy fod y rhif luosocaf o'u plaid, buasem ni hyd y dydd hwn yn aberthu ein gilydd ar allorau Derwyddaidd, ac yn cyflawni ffiaiddgreulon ddefodau Paganaidd.

Trwy garchariad, alltudiad, a gwaed ein hynafiaid y trosglwyddwyd i ni yr egwyddorion yr ydys gwedi bod yn eu trin. Darfu iddynt hwy naill ai ymddwyn yn gall neu yn ffol wrth ddewis dyoddef o'u plegid. Os ffol, paham y proffeswn eu cymmeradwyo? Os call, paham y cywilyddiwn gyfranogi o'u hysbryd? Y mae yr Ymneillduwr hwnw ag sydd yn ofni neu yn cywilyddio arddel a thaenu egwyddorion Ymneillduaeth, yn euog, mewn ymddygiad, o enllibio coffadwriaeth y rhai a ddyoddefasant hyd at waed dros ryddid cydwybod, ac yn llwyr anghymhwyso ei hun i fod yn ddilynydd y fath enwogion.

III. *Ennynant ynom deimlad o Ddiolchgarwch tuag at Lywydd y byd am ein Breintiau a'n Rhyddid.* Wyf fodd-

lawn o'm calon i ddiolch yn wastadol i Lywydd y bydoedd am lywodraethu llid dynion, a darostwng eu cynddaredd, er eu lluddias i niweidio ereill wrth rodio yn gysson â'r hyn a farnont yn wirionedd. Ond clywed am "Ddeddf Goddefiad" fel peth y dylid diolch i ddynion am dani sydd ffiaidd ac atcas.—Gwrthun iawn yw gweled pryf daear yn neidio i'r orsedd, ac yn beiddio ymyraeth â'r hyn a berthyn i gydwybod enaid anfarwol â Duw cyfiawn yr holl ddaear. Ffieiddiwyf glywed son am "Ddeddf Goddefiad" i ddynion weithredu yn grefyddol yn ol goleuni a thystiolaeth eu cydwybodau eu hunain. Edrychwyf ar yr ymadrodd "Deddf Goddefiad" fel yn drosedd yn erbyn rheolau cyfiawnder, yn ddirmyg ar awdurdod Duw, ac yn dramgwydd i synwyr dyn, ac y mae bodolaeth a theitl y fath gyfraith yn warth i ddeddflyfr Prydain Fawr yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg.

Cyhoeddi Deddf i "*oddef*" dynion i addoli Duw, sydd debyg fel pe cyhoeddid deddf i "*oddef*" Duw i dderbyn addoliad: ac nid wyf yn gwybod pa faint llai rhyfyg ydyw galw ar Ymneillduwyr i fod yn ddiolchgar i ddynion am gael eu "*goddef*" i dalu addoliad, na phe gelwid ar Dduw i fod yn ddiolchgar i ddynion am gael ei "*oddef*" i dderbyn addoliad.

Gwelwn y fath ynfydrwydd ac anghysonedd y mae balchder ac ysbryd treisiol yn arwain dynion iddynt. Ar un llaw yn sefydlu crefydd i'r holl ddeiliaid, ac ar y llall yn cyhoeddi caniatâd i bawb o'r deiliaid a chwennychont i ymneillduo oddiwrthi: ar un llaw yn cyhoeddi "Deddf Unffurfdeb," ac ar y llall yn cyhoeddi "Deddf Goddefiad:" ac felly y naill law yn tynu i lawr yr hyn y mae'r llall yn ei adeiladu.

Crefydd sefydledig trwy gyfraith i *orfodi* dynion i gydffurfio â hi sydd erledigaethus: sefydlu crefydd trwy gyfraith ac etto *goddef*, ïe, cyfreithloni anghydffurfiad â hi sydd ffolineb. Yn y weithred o *sefydlu* ffurf o grefydd dangosir

nerth creulonedd; ac yn y weithred o *oddef* anghydffurfiad â'r sefydliad hwnw dangosir gwendid egwyddor. Nis gellir cynnal cyfundraeth o *sefydliad* ac o *oddefiad* heb fod yn euog o anghyssonedd. Os iawn ydyw y sefydliad, ni ddylid goddef anghydffurfiad; ac os iawn ydyw anghydffurfiad, ni ddylid cynnal y sefydliad.

Yr un peth fyddai galw ar Ymneillduwyr i fod yn ddiolchgar i ddynion am ryddid i anadlu drostynt eu hunain, ag ydyw galw arnynt i fod yn ddiolchgar i ddynion am ryddid i farnu drostynt eu hunain; gan mai yr un Duw a'u cynnysgaedd-odd â rhyddid i'r naill yn gystal a'r llall, ac iddo ef yn unig y dylid diolch: ac ar yr un egwyddor ag y gelwir arnom i ddiolch i ddynion am ein *goddef* i arfer ein hawl-fraint enedigol fel bodau rhesymol o addoli Duw yn ol tystiolaeth ein cydwybodau ein hunain, y gellir galw arnom i deithio tua Rhufain i gusanu bawd troed y Pab.

IV. *Arweiniant ni i arfer pob diwydrwydd er ffurfio Barn gywir.* Tueddant ni i chwilio yr Ysgrythyrau, i fod yn barod i roddi ateb i bob un a ofyno i ni reswm am y gobaith sydd ynom, ac i brofi pob peth, a dal yr hyn sy dda. Dylem ddefnyddio cyfansoddiadau dynol fel cynnorthwy, a bod yn ddiwyd iawn i ymarfer â phob manteision y sydd genym er cynnyddu mewn gwybodaeth gywir am bethau crefydd; ond ni ddylem gymmeradwyo un cyfansoddiad na rheol heb ei chwilio a'i brofi yn wyneb Gair Duw. Gan mai yr Ysgrythyr ydyw yr unig Faen Prawf, dylem brofi pob gorchymyn, pob athrawiaeth, pob defod, a phob arferiad dynol yn wyneb ei chynnwysiad, ac yn wyneb ei chynhwysiad hi yn unig; ac y mae'r ystyriaeth bod genym hawl a chymhwysder, yn nghyda'i bod yn ddyledswydd arnom i wneuthur felly, yn tueddu yn uniongyrchol i'n cynhyrfu at y gorchwyl. Y mae lle i ofni y bydd y llwch a'r llwydni sydd ar Fiblau rhai, yn

nghyda'r goreurad rhodresgar sydd ar Feiblau ereill, yn ymddangos yn dystion yn eu herbyn y Farn Ddiweddaf.

V. *Eglurant rymusrwydd y Gwirionedd i gynnal ei hun ac i lwyddo er pob ymosodiad gwrthwynebol.* Nid oes ar y gwirionedd eisiau ond chwareu têg. Y mae cymmysgedd dynol yn ei halogi, cynnorthwyon dynol yn ei wanychu, ac ni lwydda yn gyffredinol hyd nes y llwyr-ryddheir ef oddiwrth bob llyffethair, ag y mae dychymmyg ddynol gwedi ei gosod arno er attal ei gerddediad.

Enllibir yr Ymneillduwyr yn fynych y dyddiau hyn, a gelwir hwynt, gan rai o ben-wendid, a chan ereill o falais, yn "*derfysgwyr.*" Os "*terfysg*" ydyw ymofyn am ryddid cyflawn oddiwrth ormes—os "*terfysg*" ydyw pleidio cadernid y gwirionedd i gynnal ei hun—os "*terfysg*" ydyw gwrthwynebu pob moddion i gynnal Crefydd y Cyfryngwr heblaw gweddi, cynghor, rheswm ac esiampl—os ydyw hyn yn derfysg, yna "*terfysgwyr*" ydym, a ni a ymogoneddwn yn yr enw: ond os nad terfysg ydyw, yna enllibwyr anwybodus neu falais-ddrwg ydyw pawb a'n geilw felly.

Gofynir gan rai yn ddigllawn a brawychus iawn, "Onid ydych am dynu i lawr yr Eglwys." Na ato Duw! Os wrth y gair "Eglwys" y meddylir Eglwys Crist, gofynaf, Onid ydym yn pleidio y Bibl Gymdeithas? Onid ydym yn cynnal Cymdeithas Genhadawl? Onid ydym yn pregethu Iesu Grist a hwnw wedi ei groeshoelio, ac yn ymffrostio ynddo fel Gwaredwr? Onid ydym yn gweddïo yn fynych ac yn daer am lwyddiant ei deyrnas? Onid ydym yn llawenhau gymmaint a neb yn y wybodaeth fod ei Eglwys ef ar y graig "a phyrth uffern nis gorchfygant?" Gyda pha wyneb ynte yr haerir ein bod am dynu i lawr yr Eglwys?

Os wrth y gair "Eglwys" y meddylir rhyw adeilad blwyfol a ddefnyddir gan ddosbarth o Gristioniaid i addoli ynddo, atebaf etto, Na ato Duw i ni amcanu ei dynu i lawr! Nid

oes neb o honom a godai gymmaint a'i fys bach tuag at symud carreg o'i fur na llech o'i dô, mwy nag y gwnaem i *Fosque* y Mahometiad, Synagog yr Iuddew, na Theml y Pagan. Ein hiaith wrth bawb ydyw, "Cynnaliwch eich hun a gwnewch a fynoch. Dilynwch y rheolau a fynoch, cyflawnwch y defodau a fynoch, ond peidiwch a gormesu ar ereill. Os ydyw eich crefydd o Dduw, hi saif, pe byddai cyfreithiau y byd yn ei herbyn; os nad ydyw o Dduw, hi syrth, pe byddai cyfreithiau y byd o'i phlaid. Gwnewch i ereill yn yr un modd ag y dymunech i ereill wneuthur i chwithau."

Aml y cwynir yn y dyddiau hyn bod annuwiaeth ac anffyddiaeth yn cynnyddu. Dichon fod graddau o selliau i'r gwynfan hon; ond dywedaf yn hyf mai yn ffosydd meirwon defodau a thraddodiadau dynol—yn mhyllau budron sermioniau rhodresgar—ac yn mhydewau llonydd sefydliadau eglwysig y neidia y llyffaint hyn i fodolaeth. Nis gallant eppilio na byw chwaith yn nyfroedd bywiog a rhedegog trefn Crist a'i apostolion. Os mynwch wybod pa beth ydyw defnyddiau eu cynnaliaeth, atebaf, mai defnyddio awdurdod ddynol i sefydlu ffurf o grefydd—gosod pen ar Eglwys Crist nad yw yn gyfaddas i ei hysgwyddau, yn gallu maethu y corff, nac adnabod yr aelodau—cyfansoddi rheolau a chreu swyddau nad oes crybwylliad am danynt yn neddlyfr y Goruchaf—defnyddio arfau cnawdol i gasglu dyledion Eglwysig, megys meirch-filwyr a thraed-filwyr, bwledau plwm a mîn cleddyf, a gweddïo bob Sabbath, "Anfon dangnefedd yn ein dyddiau, O Arglwydd"—ymaflyd yn meddiannau y weddw a'r amddifad, bwrw cyrff dynion i garchar trwy rym cyfraith, a gweddïo bob Sabbath, "Maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr." Dyma fwyd y llyffaint; ar hwn yr ymborthant, y prifiant, a thrwy ei gael yr eppiliant. Pan gyhuddir yr Ymneillduwyr o wneuthur achos cyffredin gyda'r anffyddiaid, gellir cymhwyso y ddiareb at y cyhuddwyr, a

dywedyd, "Y dylai y rhai a breswyliant dai o wydr ofalu pa fodd y lluchiant gerrig."

Ond gofyna rhywun, "Onid oes eisiau sefydliadau Gwladol i gynnal ac amddiffyn y Gwirionedd?" Atebaf yn ëon, Nac oes; ac enllib ar y Gwirionedd ac ar ei Awdwr ydyw haeru i'r gwrthwyneb. Amddiffynir a chynnelir gwirionedd dwyfol gan ei Awdwr. Yn lle cynnal ac amddiffyn y Gwirionedd y mae Eglwysi Gwladol yn mhob oes gwedi bod yn gestyll cyfeiliornadau, yn faesydd gormes, yn noddfeydd rhagrith, yn borfeydd uchel-gais, ac yn faeth-leoedd erlediggaeth. Y seiliau y pwysant arnynt ydynt awdurdod a rheolau dynol; y rhesymau a ddefnyddir ganddynt ydynt elw a pharch daearol; a'r ddyscyblaeth a weinyddant ydynt dân a ffagodau, a charcharau, a dirwyau, &c.

VI. *Cadwant ni rhag collfarnu cyflyrau y rhai a wahaniaethant mewn barn oddiwrthym.* Hanfod duwioldeb rhai dynion ydyw collfarnu cyflyrau ereill, ac ni byddai ganddynt ond ychydig iawn o grefydd pe na byddai dim *sismaticiaid* iddynt weddïo yn eu herbyn, a thywallt eu *sêl* santaidd trwy fwrw y trueiniaid anffodus ar "*drugareddau anghyfammodol Duw.*"—Haerant fod ganddynt "*Charter*" yn ol yr *Act of Parliament* i fasnachu â'r nefoedd: ond y mae y wlad yn awr yn dechreu gwybod mai ffùg ydyw eu *Charter*, ac y mae yn rhaid fod y dynion hyny wedi treulio eu hoes mewn daear-gell ag sydd heb weled fod twyll a thrawsder crefyddol yn prysuro i drancedigaeth, yn cyflym brysuro i drancedigaeth yn y dyddiau presennol.

Mor barod ydyw dynion poethlyd, anwybodus ac hunanol i waeddi fel gweision Iob, "Myfi yn unig a adawwyd.—Nid oes neb ond myfi o blaid y gwirionedd!" Ai ychydig yw y rhai cadwedig? Ië, ychydig iawn yn wir, os nad oes neb i fod felly ond y rhai a berthynant i'th blaid di, a gredant dy gredo di, ac a welant â'th lygaid di. *Tydi* bryfyn gwael gyda

dy Galfiniaeth, a *thithau* gyda dy Arminiaeth—*tydi* gyda dy Eglwys, a *thithau* gyda dy Gapel—*tydi* gyda dy drochiad, a *thithau* gyda dy daenelliad—*tydi* yn estyn allan dy linyn byr i fesur y Gwirionedd, ac i gyfyngu gras y Goruchaf, trwy gollfarnu cyflyrau y rhai a wahaniaethant oddiwrthyt mewn golygiadau! Dylai pob dyn fod yn sicr yn ei feddwl ei hun; ond ni ddylai ei sicrwydd fod o'r fath ag a achosai iddo feddwl yn gul am neb, nac edrych yn gilwgus ar neb o ddilynwyr proffesedig yr Oen. Y dyn ag sydd o egwyddorion rhydd, y mae o egwyddorion Crist; ac yn Nhgrist y mae dwy briodoledd ardderchog, sef annherfynol allu, a'r defnydd mwyaf grasol a thirion o hono.

Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng collfarnu *golygiadau* dynion, a chollfarnu *cyflyrau* dynion. Y mae gan ddyn hawl i'r naill, ond nid oes ganddo hawl i'r llall. Yn fynych pan y cyffyrddir ag egwyddorion, a phan y chwilir ac y profir golygiadau ereill, dynion difater, diddefnydd, a digynnydd a waeddant, "O peidiwch ag erlid,—dyna beth yw bod yn euog o Erlid.'' Nid yw y fath hyn yn gwybod nac yn chwennych gwybod, yn profi nac yn chwennych profi pa beth sydd wirionedd, ac ymdrechant guddio eu syrthni a'u difaterwch a'u hanwybodaeth o dan gochl Cariad.

Pa beth gan hyny ydyw Erlid? Atebaf mai drygu dyn yn ei gorff, yn ei feddiannau, neu yn ei *garictor* oblegyd ei Grefydd. Os drygaf ddyn yn ei gorff trwy ei boenydio oblegyd ei Grefydd, yna Erlidiwr wyf. Os drygaf ddyn yn ei feddiannau trwy ei ddirwyo oblegyd ei grefydd, yna Erlidiwr wyf. Os drygaf ddyn yn ei *garictor* trwy ei enllibio oblegyd ei Grefydd, yna Erlidiwr wyf. Ond y mae genyf hawl i chwilio i ei olygiadau, i brofi ei egwyddorion, i ddadleni ei gyfeiliornadau, ac i gollfarnu ei ddefodau; ac y mae ganddo yntau yr un hawl i wneud felly â'r eiddof inau, heb syrthio o ᵗan y cymmeriad atcas o fod yn ormeswr.

Os mynwch wybod pa beth yw ffynnonell Erledigaeth, gellir dywedyd mai dyma hi, sef, dynion yn ffurfio credöau a rheolau i ereill, ac yn barnu eu cyd-ddynion yn eu gwyneb. Gellir gweled ysbryd hagr Erledigaeth yn ymddygiad dyn yn cyfansoddi neu yn mabwysiadu rhyw reolau crêd, ac yn gwaeddi, "HON YW Y FFYDD GATHOLIC, YR HON PWY BYNAG AR NIS CRETTO, NI ALL EFE FOD YN GADWEDIG!" Onid yw y geiriau hyn yn dangos ei wyneb gwelw-las, ei ddannedd blaenllym, a'i ddwylaw cochion gwedi eu trochi yn ngwaed y saint? Wrth gadwaen y mae, ac onidê buan y tyfai arno gnawd, gïau ac esgyrn fel cynt, ac y rhodiai ar hyd ac ar draws ein gwlad er dinystr i gysur a diogelwch addolwyr Jehofah. Nid wyf fi yn gwybod ond am un erthycl ag y mae bywyd neu farwolaeth enaid anfarwol yn ymddibynu arni, a hòno yn llyfr ac yn ngeiriau Duw ei hun, "Y neb a gredo yn y Mab cadwedig fydd, a'r neb ni chredo a gondemnir."

Tra yn collfarnu cyflyrau, masnachu mewn dedfrydau, a lluchio damnedigaeth fel tân gwyllt i wynebau ereill, y mae dynion yn codi anghrist i'r orsedd, yn arfogi eu hunain ag arfogaeth y Duwdod, yn gwyllt gipio taran-folltau y nefoedd, ac yn traws-ddringo i eistedd fel arglwyddi cydwybod trwy wneuthur teimladau yr hil ddynol yn ystolion i eu traed.

Bernwch, chwiliwch a phrofwch *olygiadau* pawb, ond gochelwch gollfarnu *cyflyrau* neb. "Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? I'w arglwydd ei hun y mae yn sefyll neu yn syrthio." Meddyliwch am natur y grefydd yr ydych yn ei harddel, Ei ffynnonell yw Cariad dwyfol; ei dyben yw Heddwch ac Ewyllys da; ei deddfau, doniau a'i chymhelliadau ydynt oll o Gariad; ei hawdwr yw Tywysog Tangnefedd, a'i holl egwyddorion ydynt fel ei Hawdwr. Heddwch, Heddwch, i'r agos a'r pell hefyd.

Dysgwn oddiwrth y cwbl i beidio camgymmeryd penderfyniadau dynol am gyfreithiau Duw; ymostyngiad i reolau dynol am ufudd-dod i Grist; trefniadau dynol am yr Efengyl; na deddfau o awdurdod ddynol am Reolau Ffydd. "Profwn bob peth, a daliwn yr hyn sy dda."

DIWEDD.

# DARLITH

AR YR

## Afresymoldeb niweidiol o ddilyn Traddodiadau Dynol,

MEWN PETHAU CREFYDDOL.

MARC 7. 13.

*Gan ddirymu gair Duw â'ch traddodiad eich hunain.*

Wrth Draddodiad y deallwyf unrhyw beth a gymhellir i grediniaeth dynion heb fod yn ddatguddiedig yn Ngair Duw, ac heb unrhyw brawf ei fod yn wirionedd. Gosodir allan yn Nghair Duw, Draddodiad a Gwirionedd, fel pethau gelynol y naill i'r llall. Gelwir yr olaf *gair yr Oen*, *gair y dystiolaeth*, *&c.*, a'r blaenaf a elwir *Llyffaint*, *mwg y pydew*, *bwystfil*, *&c.* Dywedir hefyd fod rhyfel gwastadol rhyngddynt.

Yr oedd yr Iuddewon yn bobl hynod o barchus o'u traddodiadau. Cymerent arnynt fod yr Arglwydd wedi amlygu llawer o bethau i Aaron a'i feibion, heblaw y deddfau ysgrifenedig a amlygwyd trwy Moses, a'u bod hwythau wedi eu hysbysu i'r prophwydi, a'u bod felly wedi eu trosglwyddo o oes i oes. Gwnaed casgliad o'r rhai hyn at eu gilydd, a chyfeirir yn fynych gan ysgrifenwyr at y casgliad hwn o dan yr enw "Talmud." Perchid y traddodiadau hyn yn fawr gan y genedl honno; a dywed Crist eu bod yn "gwneuthur gorchymynion Duw yn ddirym trwy eu traddodiadau eu hunain." Camsyniad mawr ydyw meddwl mai ymlyniad yr Iuddewon wrth gynnwysiad yr Hen Destament ydyw yr achos iddynt wrthod cynnwysiad y Testament Newydd. Eu hymlyniad wrth eu TRADDODIADAU ydyw y gwir achos o hyny. Buasai gwir barch at y dystiolaeth a roddir o'r Messias yn yr Hen, yn aeddfedu y meddwl i dderbyn, ac nid i wrthod, Crist y Testament newydd.

O dan oruchwyliaeth y Testament Newydd cymmer y Pabyddion arnynt, ac ereill heblaw Pabyddion, fod ganddynt

lawer o draddodiadau wedi eu trosglwyddo yn rheolaidd oddiwrth yr Apostolion, a golygant y rhai hyn fel o awdurdod cydradd a'r Gair ysgrifenedig. Ond nid ydynt yr un gronyn gwell na thraddodiadau y Talmud Iuddewig. Y mae yr Ysgrythyr wedi ei gorphen, a gwaherddir pawb i roddi dim ati, na thynu dim oddiwrthi o dan berygl cyflawniad y bygythion mwyaf llymdost. Dat. 22. 18, 19.

Gellir dynodi y pethau canlynol fel colofnau y sydd yn mhob oes a gwlad wedi bod yn cynnal i fynu Deml Traddodiad.

DIFFYG YSBRYD YMCHWILIADOL. Y mae Traddodiadau dynol yn diflannu o flaen yr ysbryd hwn, ac am hyny ymgais eu pleidwyr yn mhob oes a gyfeiria at gael dynion i fod yn dawel a llonydd i gredu pob peth a welont hwy yn dda i'w osod fel gwirionedd; ac os beiddia rhywun wneuthur yn amgen, i'w galw yn *Derfysgwyr*, *Hereticiaid*, *Infidels*, &c. "Da chwi," meddent, "na chwiliwch ac na fernwch drosoch eich hunain; byddwch dawel, distaw a goddefol; gadewch ini eich tywys, credwch yr hyn oll a osodom ger eich bron, a dim ond hyny; mewn gair, goddefwch ini dynu eich llygaid allan o'ch pennau, ac ymddiriedwch i'n llygaid ni i edrych trosoch."

Y mae Traddodiadau yn diflannu o flaen ysbryd ymchwiliadol megis y cilia tywyllwch o flaen goleuni. Alltudiodd yr ysbryd hwn yr holl fwganod allan o'r wlad, fel nad oes eisiau yn bresenol i alw am Berson y plwyf i siarad *Lladin* i gael "rhoddi y bwgan i lawr." Diffoddodd hefyd yr holl ganwyllau cyrff, a distrywiodd bob aderyn y corff. Ymddifadodd Ffynnon Eilian o'i dylanwad; a gall gwraig yn yr oes hon ddygwydd bod yn hên, yn hyll, yn fudr, ac yn felen, heb fod mewn perygl o gael ei galw yn *Witch*, a'i llosgi fel y cyfryw.

CEFNOGAETH AWDURDODAU DYNOL. Y mae hyn yn golofn gadarn i gynnal Teml Traddodiad. Gwnaed cyfreithiau, ffurfiwyd rheolau, a gosodwyd cosbau, i bleidio Traddodiadau.

Y mae Teml Traddodiad wedi ei hadeiladu ág esgyrn Merthyron ac â gwaed saint yr Arglwydd, a'r dodrefn oddifewn iddi ydyw ffadogau, ystanciau, cleddyfau, arteithglwydi, a phob dirdyn-beiriant a ddychymygwyd erioed gan galonnau gormeswyr.

Gwrthodwyr Traddodiadau a wadant hawl awdurdodau gwladol i chwanegu at gyfreithiau Crist, i draws-osod eu deongliadau eu hunain o gyfreithiau Crist, nac i newid natur cosbau cyfreithiau Crist. Credant nad oes gan neb hawl i i arglwyddiaethu ar gydwybod ond yn unig yr hwn sydd Farnydd cydwybod. Yr un modd y mae Creadigaeth a Rhagwybodaeth yn briodoliaethau perthynol i Dduw yn unig, felly hefyd iddo ef yn unig y perthyna Arglwyddiaeth Cydwybod. Ganddo ef yn unig y meddiennir y gallu o ennill y meddwl, a cheisio gan ddynion i gredu unrhyw beth o dan berygl cosb, heb argyhoeddi eu meddwl o *wirionedd* y cyfryw beth, sydd gyd-ymbleth o ffolineb a chreulondeb.

Yr oedd Gwir Barchedig Dad yn Nuw, Esgob Bonner, yn un enwog iawn yn ei ddydd. Un selog ydoedd am bleidio traddodiadau dynol trwy rym awdurdod wladol. Cynnygiodd ddeugain punt i langc am newid ei gredo, fel pe buasai credo dyn yn rhywbeth i'w droi ar ben bŷs, ac nid i'w seilio ar argyhoeddiad cydwybod. Llosgodd hefyd luaws o ddynion mil gwell nag ef ei hun am wrthod cydffurfio â'i gynhygion. Yr oedd yr awdurdod wladol yn penderfynu mai gwr "uniawn grêd" oedd Bonner: yr oedd ei athrawiaeth yn "athrawiaeth iach" yn ol y gyfraith, a pheth hawdd iawn oedd nodi allan fel *Heretic* bob un a wrthodai ei gredo ef; ac wedi ei nodi fel Heretic, peth hawdd iawn oedd ei daflu i'r tân a'i losgi.

Pleidiaeth y Lluaws. Dyma golofn gref arall i gynnal Teml Traddodiad. Pwnc mawr yn mhob oes, yn ngolwg dynion gweiniaid, ydyw, i fod beth bynnag os gallant o ochr y nifer fwyaf. Dengys yr arwydd yma ei hun yn mhob etholiad gwladol, yn mhob festri y plwyf, mewn gair, yn mhob

dadl y gelwir dynion i ddangos eu plaid. Gofyniad lluosoccaf.

Nid yw poblogrwydd unrhyw dyb yn un prawf o'i gwirionedd; ac nid yw bod lluaws yn dilyn unrhyw arferiad, ac yn cyflawni unrhyw ddefod, yn un prawf o'i phriodoldeb. Pe hyny, rhagorai Pabyddiaeth ar Brotestaniaeth, Mahomet ar Iesu, a Phaganiaeth ar Gristiaeth; oblegyd lluosoccach ydynt eu deiliaid na y rhai a dderbyniant "y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu."

Pan amlygodd yr Arglwydd Iesu burdeb ysbrydol ei egwyddorion, "O hyny allan, llawer o'i ddysgyblion ni rodiasant mwyach gydag ef." (Ioan 6. 66.) Ciliodd y miloedd ymaith oddiwrtho, ac ni arhosodd ond ychydig; ond er hyny yr ychydig oedd yn eu lle, a'r miloedd oedd ar gyfeiliorn. Pe pleidiaeth lluaws a fuasai maen prawf y gwirionedd, yn mha le y buasai gwir grefydd yn amser Abraham, yn yr hir yspaid amser o Moses hyd ymddangosiad y Gwaredwr, ac yn amser Elias, pryd y plygai y miloedd i Baal?

Nid y lluaws sydd i benderfynu pa beth sydd wirionedd. Gall un Eryr edrych yn fwy sefydlog ar lewyrch yr haul na mil o ddyllhuanod; ac felly gall un dyn synwyrgall fod yn gywirach ei syniadau, a chanfod llewyrch y gwirionedd yn eglurach na mil o ffolion.

Y mae fod y lluaws yn credu unrhyw draddodiad, ac yn dilyn unrhyw arferiad, yn annogaeth neillduol i ddynion difater i aros heb chwilio i briodoldeb neu anmhriodoldeb y cyfryw draddodiad neu arferiad. Y mae yn dileu teimlad rhinweddol oddiar y meddwl, ac yn tueddu i ddwyn dynion i agwedd fel pe yr ystyrient fod lluaws pleidwyr yn cyfreithloni peth. Hysbysa hanes i ni am fugail ar fynyddau yr Eidal, yr hwn, yn y tymhor hwnw o'r flwyddyn a santeiddir gan draddodiad, sef y Grawys, a aeth yn ol yr arferiad gyffredin at yr offeiriad i gyffesu ei bechodau, ac i dderbyn maddeuant. Holodd yr offeiriad ef pa bechod yn fwyaf neillduol oedd yn gwasgu ar ei gydwybod. "Och!" ebe efe,

tra yr oeddwn yn ddiweddar yn sefyll yn ymyl gwasg caws, yn nhŷ cymmydog, neidiodd rhai gronynau o'r maidd yn ddamweiniol i'm genau, a minau yn lle eu poeri allan a lyngcais eiddo fy nghymmydog." "A oes yr un pechod neillduol arall yn blino eich meddwl?" ebe yr offeiriad. "O nac oes," attebodd yntau, "dyna y trymaf a'r gwaethaf o'm holl bechodau." Dygwyddodd o gylch y pryd hwnw fod amryw ddieithriaid ag oeddynt yn ymdaith dros fynyddau y wlad wedi cael eu llofruddio a'u hyspeilio, a chan y tybid yn gyffredin mai bugeiliaid y mynyddau hyny oeddynt yn euog, pwysodd yr offeiriad arno i wybod a oedd ganddo ef law yn yr ysgelerder ai peidio. Addefodd yn rhwydd fod, "ond," ebe efe, "pa beth o hyny? onid oedd *pawb* o'r bugeiliaid yn euog o'r un peth? "Yr oedd llyncu gronynau maidd yn blino cydwybod yr adyn hwn; ond nid oedd llofruddiad ac yspeiliad ond megis cellwair yn ei olwg, a hyny o herwydd fod *lluaws* yn cyflawni yr anfadrwydd. Fel hyn yn fynych, trwy ddilyn y lluaws, hidlir gwybedyn a llyncir camel, gwneir gorchymyn Duw yn ddirym trwy ddysgeidiaeth ddynol, edrychir ar drosedd traddodiad dyn yn bechod dirfawr, a golygir trosedd yn erbyn gorchymyn Duw yn beth dibwys. Peth bychan yn ngolwg yr Iuddewon oedd dirymmu gorchymyn Duw o anrhydeddu rhieni, trwy ddywedyd Corban; ond pechod anferth o ddychrynllyd ganddynt oedd bwytta â dwylaw heb eu golchi.

Nid yw pleidiaeth y lluaws yn un math o ddiogelwch. Gellir bod gyda'r lluaws er gwaethaf cynghor Solomon, ac eto gwneuthur drwg, er gwaethaf dagrau Iesu, ac eto bod ar y ffordd sydd yn arwain i ddistryw, ac er gwaethaf rhybudd Paul, ac eto bod yn elynion Croes Crist.

PARCH AC ELW BYDOL. Dibyna Teml Traddodiad lawer iawn ar y golofn hon. Yr effeithiolaf o bob peth am ddallu llygaid ydyw lluchio iddynt ddigon o lwch aur. Syr Robert Walpole, yr hwn a fu gynt yn brif weinydd llywodraeth Prydain, a arferai ddywedyd fod i bob dyn ei bris—rhai fwy,

rhai lai. Trwy drugaredd nid gwirionedd heb eithriad ydyw hwn; ond y mae yn sylw eithaf priodol ac ystyried y nifer amlaf o ddynolryw. Pan oedd rhyw offeiriad gynt yn terfysgu y gyfundraeth Babaidd â'i gynhygion am ddiwygiadau, "Rhaid ini" ebai y Pab "ei wneuthur yn Esgob yn ddioed, ac yna diau y bydd yn ddigon dystaw." Y mae gwobrau a pharch yn bethau grymus iawn er ennill cymmeradwyaeth a chydffurfiad dynion. "A gredodd neb o'r *penaethiaid?*" oedd y gofyniad gynt. "A ydyw y grefydd hon yn dechreu dod i'r ffasiwn? A oes neb pobl *respectable* yn dilyn yr Iesu? Am y bobl hyn, y rhai ni wyddant y gyfraith, melldigedig ydynt. Radicals llwydion, dynionach *vulgar* tlodion ac anaddas i gymdeithas pobl *genteel* ydynt." "Pa fodd" ebai Crist "y gellwch chwi gredu y rhai ydych yn derbyn gogoniant gan eich gilydd ac heb geisio y gogoniant sydd oddiwrth Dduw yn unig?"

Ond bellach buddiol ini fyned rhagom i nodi allan yr Afresymoldeb Niweidiol o ddilyn Traddodiadau dynol mewn pethau Crefyddol.

Y mae yr ymddygiad o ddilyn traddodiadau yn *anmharch i Dduw fel Duw'r Gwirionedd.* Dilyn traddodiadau dynion ydyw gwneuthur ein hunain yn ddysgyblion dynion, ac nid yn ddilynwyr Duw fel plant anwyl. Pa mor luosog ydyw y nifer hyny o ddynion a farnant pa beth sydd wirionedd a pha beth sydd gyfeiliornad yn wyneb dywediadau Ioan Calfin neu Iago Armin, ac nid yn wyneb Gair Duw! Profir dywediadau Paul yn wyneb dywediadau Armin; a phrofir dywediadau Iago yn wyneb dywediadau Calfin; a rhaid gofalu a thrafferthu yn fawr i wneuthur Paul yn gysson âg Armin, ac i wneuthur Iago yn gysson â Chalfin; ac fel hyn darostyngir Gair Duw i gael ei droi a'i ystwytho i fod yn gysson â gair dyn. Dylid sylwi ar hyn *os ydym yn credu unrhyw beth,* IE, PE BYDDAI Y PETH HWNW YN WIRIONEDD, *o herwydd fod rhyw ddyn neu ddynion wedi ei ddywedyd, yna* DYSGYBLION DYNION *ydym, ac* NID *dysgyblion yr hwn a ddywedodd "Un yw eich athraw chwi, sef Crist."*

Nid yw traddodiadau byth yn gadael deddfau Duw yn eu lle a'u ffurf eu hunain, eithr y maent bob amser naill ai yn eu llacio neu yn eu tynhau. Yr oedd y Phariseaid yn llacio y gorchymyn o anrhydeddu rhieni trwy waeddi Corban; ond yr oeddynt yn tynhau y gorchymyn o gadw y Sabboth trwy feio ar y dysgyblion am dynu ychydig dywysenau i lonyddu teimlad o newyn. Oeddynt yn degymu y mintys a'r anis ac yn gwneuthur phylacterau, ond ar yr un pryd yn esgeuluso pethau trymaf y gyfraith, sef barn a thrugaredd a ffydd. Oeddynt ym ymffrostio yn nheml yr Arglwydd, tra ar y pryd yn ei throi yn ogof lladron; ac yn danbaid eu heiddigedd tros ddefodau arferol addoliad, tra yr un amser yr oedd eu holl ymddygiad yn profi mai aelodau oeddynt o Synagog Satan.

Y mae y cynnygiad a'r derbyniad o draddodiad yn cynwys ynddo haeriad fod Duw naill ai yn *anwybodus* o bob peth angenrheidiol i'w ddadguddio, neu ei fod yn *anewyllysgar* i'w ddadguddio. Ond efe ei hun a hysbysa ini fod ei Gyfraith yn Berffaith, a gwell ini fil o weithiau ymlynu wrth Paul, Pedr ac Ioan, nac wrth holl Gardinaliaid y Pab, ac Esgobion y byd. Galarus yw meddwl y dyrchefir traddodiadau dynol yn fynych uwchlaw gwirionedd dwyfol. Ymdrecha llawer i gadw y Pasg, y Sulgwyn, a'r Nadolig mewn defosiynau santaidd, ond ni phetrusant halogi y Sabboth. Fel hyn y perchir gwyliau Calender y Pab uwchlaw gwyl Llyfr Duw, ac y gwneir gorchymyn Jehofah yn ddirym trwy draddodiad dynol.

*Attalfa i lwyddiant y Gwirionedd.* Yr oedd y traddodiad mai yr Haul oedd yn ymdaith a'r ddaear yn sefyll, yn rhwystr mawr i dderbyniad y gwirionedd. Yr oedd traddodiad yn attalfa rymus i lwyddiant y gwirionedd a ddarganfyddwyd gan Harvey am gylch-rediad y gwaed. Felly mewn miloedd o engreifftiau ereill. Ymlynwyr wrth draddodiau yr hynafiaid oeddynt y rhai a ddalient yr "athrawiaeth iach;" a hereticiaid gwrthnysig y gelwid pawb a fwrient y traddodiadau o'r neilldu ac a goflcidient y gwirionedd. Llawer gŵr da a lysenwyd yn *Heretic*, heb yr un rheswm dros hyny, ond ei fod

yn rhy gall i fod yn ffŵl, ac yn rhy onest i fod yn gnâf. Ni ddiangodd y Gwirionedd ei hun rhag cael ei alw yn *Heretic*. Dywedodd wrth ryw glâf, "Cymmer gysur, maddeuwyd iti dy bechodau." "Och!" ebai yr Ysgrifenyddion, yn llawn sel tros yr athrawiaeth iach, "y mae hwn yn cablu—heretic ydyw yn ddiau." Dygwyd yr un cyhuddiad yn erbyn Stephan, gwr llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glan. Pan na allai ei elynion wynebu yn deg arno i wrth-resymu ei weinidogaeth, "gosodasant wyr i ddywedyd, Nyni a'i clywsom ef yn dywedyd geiriau cabledd yn erbyn Moses a Duw." Act. 6. 11. Hen arferiad i gochli gwendid ydyw crochlefain "Heresi! Cyfeiliornad!" ond rhy fynych y llwyddodd i fod yn attalfa *am dymhor* i lwyddiant y gwirionedd.

Ceir prawf o wrthwynebrwydd traddodiadau i lwyddiant y Gwirionedd yn amgylchiadau presennol Ynys Madagasgar. Yr oedd y Gwirionedd yn dechreu ymdaenu dros yr Ynys honno gyda y fath lwyddiant nes yr ymddangosai pob tebygrwydd y'i gwnelid yn fuan yn Baradwys Duw. Ond cynhyrfwyd ysbryd dysgyblion yr hên draddodiadau gan lid a dychryn, a dygwyd awdurdod wladol i'r maes i weithredu o blaid traddodiad ac yn erbyn Gwirionedd. Yr un peth o ran eu natur ydyw traddodiadau pob gwlad a phob crefydd—traddodiadau Paganaidd, Mahometanaidd, Pabaidd a Phrotestanaidd—y maent yn ymladd yn erbyn y Gwirionedd, ac yn enwedig y Gwirionedd hwnw a dery yn erbyn pethau *tymhorol* eu pleidwyr.

*Gwneuthur Gwrthrychau Crêd yn ansicr.* Traddodiad un oes a wrthsaif Draddodiad oes arall; a'r gofyniad ydyw, traddodiad pa oes sydd i'w gredu? Os dilynwn draddodiad, rhaid inni wrthod traws-sylweddiad fel cyfeiliornad am y mil blynyddoedd cyntaf o oed Cristiaeth; a'i gofleidio fel gwirionedd am gannoedd o flynyddau wed'yn. Ond "y mae yr holl Ysgrythyr WEDI ei rhoddi," &c.

Ychydig yn rhagor na thri chant o flynyddau ar ol marwolaeth y Gwaredwr, cynhaliwyd Cynghorfa dduwinyddol a

alwyd Cynghorfa Nicea. Yr oedd y cyfryw a ystyrid y pryd hwnw yn brif dduwinyddion y byd wedi ymgynnull yno ar yr achlysur. "Wel," medd rhywun, "pa beth oedd y mater? Tebyg fod yno rywbeth pwysig dan sylw er iachawdwriaeth dynolryw. Dim o'r fath beth. Achos y cynnulliad oedd i roddi penderfyniad yn ngylch yr amser priodol o gadw gwyl y Pasg! Dadleuai un blaid yn groch y dylid ei chadw y 14eg o oed lleuad mis Mawrth, ar ba ddydd bynnag o'r wythnos y digwyddai hyny, a haerant fod ganddynt draddodiad apostolaidd dros eu golygiad. Haerai y blaid arall y dylid ei chadw ar y Sabboth cyntaf ar ol y 14eg, a dywedent hwythau fod ganddynt draddodiad Apostolaidd dros eu golygiad: ac fel hyn y cynhyrfid y byd Cristionogol o gylch gwyl nad oes y crybwylliad lleiaf yn Nghair Duw am ei chadw amser yn y byd o dan yr oruchwyliaeth bresennol. Oddiwrth ddadleuon fel hyn am bethau seiliedig ar draddodiad y tarddodd y gelfyddyd ofnadwy o wneuthur hereticiaid; a'r canlyniad fu llawer gair chwerw, ymddygiad brwnt, a chorff gwaedlyd.

*Difa Defnyddioldeb dyn fel Bod Rhesymol.* Rhaid i ddyn fod yn sefydlog cyn y gallo fod yn ddefnyddiol. Y mae y Gwirionedd yn aros yr un yn mhob gwlad ac yn mhob oes, ond nid felly Traddodiad. Y mae Traddodiad yn newid—un yw traddodiad yr Eglwys Brotestanaidd, arall yw traddodiad yr Eglwys Babaidd, ac arall yw traddodiad yr Eglwys Roegaidd. Un yw traddodiad yr oesau gynt, arall yw traddodiad yr oes hon, ac arall fydd traddodiad yr oes nesaf. Rhaid gan hyny i ddilynwr traddodiadau fod yn anwastad yn ei holl ffyrdd, ac yn ansefydlog yn ei holl lwybrau. Ymleinw fel y *Camelion* â gwynt, a newidia ei liw yn ol fel y cynhyrfer ei nwyd neu y geilw ei gyfleusdra arno.

*Cadwyno y meddwl.* Os hyn, rhaid ei fod yn attal cynnydd, oblegyd nas gall meddwl cadwynedig dramwyo meusydd gwybodaeth yn hŷf ac yn heini. Y mae dysgybl Traddodiad fel Malwoden yn ymgadw o fewn ei gorn, yn tybied ei fod wedi gweled y byd i gyd; ac os anturia i estyn ei ben allan

rai gweithiau, eto buan iawn y'i tŷn yn ol, gan feddwl mai lle tra pheryglus a thlawd sydd yn mhob man y tu allan i'w gorn anwyl. "Dyma" medd efe, "fel y gwelais ag y clywais I erioed, a dyma fel yr oedd yn amser fy Nhad a'm Taid;" ac os gwel y tylwyth hyn rywbeth yn groes i'r hên ddefodau gynt, ysgrechiant fel pe byddai diwedd y byd wedi eu goddiweddyd. Mewn gair, y mae Traddodiad yn effeithio fel diod gwsg ar yr enaid, yn ei roddi i orwedd yn dawel ar wely esmwythyd, ac os seinir rhyw wirionedd yn ei glyw yn ddigon uchel i'w gyffroi, y mae mewn gwewyr fel pe byddai feichiog ar angau ac yn ymyl esgor ar farwolaeth.

*Creu Erledigaethau.* Ymwybodaeth o wendid ydyw y cymhelliad cryfaf i arfer moddion treisiol. Nid oes eisiau gorfodaeth i rwymo dynion i gredu fod yr Haul yn goleuo, yn cynhesu, a'i fod yn llesol i feithrin llysiau, glaswellt, a blodau. Y mae y gwirionedd hwn mor nerthol fel y gadewir iddo ymdaith yn ei nerth ei hun. Ond pe cymmerai yr awdurdodau goruchel yn eu pennau fod yr athrawiaeth o oleuni a chynhesrwydd yr Haul yn gyfeiliornus, ac mai y golygiad uniawn-grêd ydyw nad oes na goleuni na chynhesrwydd yn perthynu i'r Haul, byddai ymwybodaeth o wendid y golygiad hwn i wynebu ar dderbyniad y bobl yn eu cymhell heb ruso i arfer moddion treisiol er eu cael i broffesu crêd ydddo. O blaid *traddodiadau dynol a phethau amheus* y lluniwyd ac y gweinyddwyd deddfau erlidus: a pho leiaf o grêd dyn fyddo yn seiliedig ar Air Duw, a pho fwyaf ar air dynion, mwyaf ydyw ei awydd i ddefnyddio arfau cnawdol er ei hargymhell i dderbyniad ereill.

*Seiliau sigledig yn Angau.* Ni rydd cydffurfiad â defodau dynol nemawr gysur yn awr marw: nid oes ond y pethau hyny yn unig ag y gellir dywedyd am danynt, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," a saif yn ddiysgog y pryd hwnw. Defodau a thraddodiau dynol a lithrant ymaith fel tywod yn yr amgylchiad o wynebu ar fyd arall, a syrth pob adeilad a sylfaenir arnynt. Dylem gan hyny fyned at y Gair ac at y

Dystiolaeth i chwilio am sylfaen ffydd a rheol ymarweddiad.

Y MAE Y GWIRIONEDD YN WERTH CHWILIO AM DANO. Pryn y gwir ac na werth ef—pryn ef faint bynnag a gyst, ac na werth ef faint bynnag a gynhygier am dano. Os cyst y gwirionedd hên ddefodau anwyl, a hên draddodiadau parchus, ymaith a hwynt er mwyn ei gael. Os cyst ef ychydig o boen ac aflonyddiad, na phetrusa ymaflyd ynddo. Gwell ydyw cael gwirionedd ar draul aflonyddu tawelwch, na chael tawelwch ar draul esgeuluso gwirionedd.

Dylai y rhai a broffesant ddilyn y Bibl, gan wrthod pob rheol arall, ddangos RHAGOROLDEB Y RHEOL YN RHAGOROLDEB EU HYMDDYGIADAU. Dangoswch fod gennych well rheol trwy fyw gwell bywyd. A phob amser y clywoch son am *Heresi*, *Cyfeiliornad*, *&c*, cofiwch mai yr *Heresi* pennaf ydyw anghrediniaeth yn Mab Duw, a'r *cyfeiliornad* gwaethaf ydyw bywyd annuwiol.

DIWEDD.

ARGRAFFWYD GAN H. AC O. JONES.

# CRYNODEB

O

# DDWY BREGETH,

A BREGETHWYD

GAN Y DIWEDDAR DAFYDD GADWALADR,

*O'R BALA,*

YN EI EIRIAU EF EI HUN.

---

A YSGRIFENWYD

GAN DANIEL JONES, DINBYCH,

Gynt o *Liverpool.*

---

"Y mae efe wedi marw yn llefaru etto."
"Cesglwch y briwfwyd gweddill, fel na choller dim."

---

WYDDGRUG:

ARGRAFFWYD GAN H. AC O JONES.

1838.

*(Pris Dwy Geiniog.)*

# CRYNODEB

# O BREGETH,

A BREGETHWYD YN NGHAPEL BEDFORD STREET, LLYNLLEIFIAD, CHWEFROR 12fed, 1812.



## 2 CORINTHIAID V. 17.

*"Gan hynny od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: yr hen bethau a aethant hebio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd."*

GWRANDEWCH yn astud, da bobl; od oes yma neb heb fod yn greaduriaid newydd, nid ydych yn Nghrist; pob un sydd yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: pob un sydd heb fod yn Nghrist, y mae yn gorwedd yn farw yn ei bechod; mae yn ngafael melldith Duw; a gwirionedd amlwg yw, mai y diafol fydd yn myn'd a'i enaid ef pan fyddo marw.— Y mae pob un sydd yn Nghrist mewn gwirionedd, "y mae efe yn dwyn ffrwyth lawer; pob cangen ynddo Ef heb ddwyn ffrwyth, y mae efe yn ei thynnu ymaith i'w bwrw yn tân i'w llosgi.' Yr oedd y rhai hyn yn Nghrist mewn enw, ac nid mewn gwirionedd, o herwydd hyny nid oeddynt yn dwyn ffrwyth da. Dichon dyn wneuthur proffes o Grist,—bod yn aelod o Eglwys Crist, heb fod yn greadur newydd.

Bod yn Nghrist yn ddidwyll ac yn wirioneddol,—

1. Yn bennaf, meddylir, bod yn Nghyfiawnder Crist.

Cyfiawnder Crist wedi cael ei gyfrif iddynt; a phob un a gredodd er cyfiawnder, y mae hwnw yn ei gyfiawnder Ef.

2. Bod yn Ysbryd Crist, sef bod ei Ysbryd Ef yn preswylio ynom ni. "Ac od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eidddo Ef.'

3. Bod yn nghariad Crist. "Od oes neb nid yw yn caru yr Arglwydd Iesu Grist, bydded Anathema Maranatha," sef, bod yn felldigedig ysgymmunedig, yn ei ail ddyfodiad yn y dydd olaf.

4. Bod yn nheyrnas Crist, yn aelod gwirioneddol yn Eglwys Crist.

Yr wyf yn gofyn i chwi cyn myn'd i'r farn, a ydych chwi yn Nghrist? Ni all un dyn drwy nerth natur ei gyrhaeddyd; er hyny y mae llawer o blant Adda colledig, yn dyfod i'w feddiannu.

Ac yn wir, mawr iawn yw dedwyddwch y bobl yma, hwy yw yr unig bobl ddedwydd sydd yn y byd.—Dedwydd ydynt aed y byd yma ffordd yr elo; happus ydynt doed angau y pryd y delo. Pan ddel sain yr udgorn diweddaf dedwydd fyddant i drag'wyddoldeb. Y rhai sydd yn Nghrist nid oes dim damnedigaeth iddynt *yn awr*, er eu bod yn aml yn ofni damnedigaeth yn fwy na neb. Ni fyn yr annuwiol ddim clywed sôn am ddamnedigaeth;—y mae yn meddwl fod Duw yn well o lawer na'i air.

Y mae yn naturiol i ddynion wrth gredu Prynedigaeth gyffredinol, eu hesmwythau eu hunain yn eu pechodau; meddwl bod Duw wedi eu caru, a Christ wedi eu prynu, &c., a hwythau yn dawel yn meddiant y cryf arfog, yr hwn sydd yn cadw ei neuadd, a phob peth sydd ganddo mewn heddwch.

Ond y mae y rhai sydd yn Nghrist yn credu yn sicr mai damnedigaeth y maent hwy yn ei haeddu yn gyfiawn. Ond clyw, gredadyn ofnus, a chrynedig,—

1. Ni *wnaethost* ti bechod erioed a ddichon dy ddamnio, er i ti ofni dïal a chospedigaeth am dy holl bechodau; ni chai dy ddamnio o'u herwydd, Salm 89. 30—34.

2. Nid oes *ynot* yn bresenol un pechod a ddichon dy ddamnio; o herwydd galwyd enw Crist yn Iesu, ac Efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau.

3. Ni ddichon i olwg manwl y Duw Hollwybodol weled *ynot* bechod a ddichon dy ddamnio. Ni "wel Efe anwiredd yn Jacob, ac ni wel Efe drawsedd yn Israel," Jer. 50. 20.

4. Ni chai dy ollwng i bechu un pechod a ddichon dy ddamnio. "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw," &c. Salm 89. 30—34.

5. Ni ddichon i holl gythreuliaid y pydew diwaelod dy ddwyn i uffern. "Ni chyfrgollant byth; ni ddwg neb hwynt allan o law Crist." Y rhai sydd yn Nghrist, nid yn unig nid oes iddynt ddim damnedigaeth, ond hefyd y mae ganddynt fywyd tragywyddol yn eu meddiant eisoes.—Y mae y *Stock* yma wrth eu cefn yn nghanol eu holl brofedigaethau a'u gorthrymderau mawrion.

Y mae yn bosibl i ni gael bywyd trag'wyddol cyn myned o'r odfa yma heno. "Yr hwn y mae y Mab ganddo, sydd ganddo fywyd." "Trwy gael adnabod Duw, a'r hwn a anfonodd Efe, Iesu Grist, y mae cael bywyd trag'wyddol." O bobl ddedwydd! O bobl gyfoethog! "Os ydwyt yn Nghrist, yr ydwyt yn gre-

adur newydd, a'r hen bethau wedi myned heibio,'—sef, y pethau sydd mor hyned a ni ein hunain; gyd a'n ffurfiad yn y groth, ac a ddaethant gyda ni i'r byd. —Yr hen ddyn, sydd mor hyned a'r Adda cyntaf.—Yr hen falchder, yr hen genfigen, yr hen ymchwydd, yr hen anngbrediniaeth, yr hen gybydd-dod, a'r ewyllysio ymgyfoethogi, &c. &c.

Y mae y cybydd yn ymddiried mewn golud anwadal, ac nid yn y Duw byw, am hyny eilun-addolwr ydyw. Efe ei hun yw Duw yr annuwiol, hunangariad yw y *spring* o ba un y mae ei rith addoliad yn tarddu; a'i addoli ei hun y mae. Ond y rhai sydd yn Nghrist, "yr hen bethau a aethant heibio," yn cael eu troi heibio, a'u cyfrif fel sothach. "Wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd."

Enaid gwerthfawr, mae dy gyflwr yn ddrwg, yn golledig, yn andwyol, yn ddamniol, os na chefaist y pethau newydd yma.—Gochel wthio ymaith y meddyliau sobr am dy gyflwr trag'wyddol, heb hunan-ymholiad, a gefaist ti y pethau newydd yma, ai nis cefaist.

"Wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Y maent yn cael eu dwyn i rwym y Cyfammod newydd. Fe dorrwyd y gyfraith ar lechau o gerrig, ac er ei bod yn gyfa yn yr arch, yr oedd y bobl yn ei thorri. "Ond hwn yw y cyfammod a ammodaf fi â thŷ Israel, ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddyliau, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt; a myfi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl." Ac y mae Duw yn taflu eu holl bechodau tu ol i'w gefn, i ddyfnderoedd y môr, megis y llyngcodd y Môr Coch

yr Aiphtiaid; felly y mae pechodau y duwiol yn cael eu taflu i ddyfnderoedd y môr,—angau Crist sydd yn gladdfa fythol, ac yn bydew diwaelod i bechod. "Eu pechodau a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach." Heb. 10. 16, 17.

Ond yn nghanol fy ngweddi yn erbyn pechod, byddaf yn ofni yn aml mai myfi yw y rhagrithiwr penaf yn y gynnulleidfa. Cofio fy mhechodau fy hun yr wyf ddydd a nos er gwarth a chywilydd fy wyneb, fel Dafydd gynt, "Fy mhechod sydd yn wastad ger fy mron." Ond O Dduw Hollwybodol, Hollbresenol; "Trugarha wrthyf yn ol dy drugarogrwydd, yn ol lluaws dy dosturiaethau dilea fy anwireddau."

Yr ydwyf yn rhoddi hyn yn *dask* i chwi i gyd i'w chwilio:—Pa beth yw y pethau newydd y mae y rhai sydd yn Nghrist yn eu cael? ac yn wyneb hyny tro attat dy hun, a gofyn, A gefais I y pethau newydd hyn? A ddygwyd fi i rwym y Cyfammod newydd? A ddaethym I "i'r cyssegr trwy waed Iesu, ar hyd ffordd newydd a bywiol, yr hon a gyssegrodd Efe i ni trwy y llen, sef ei gnawd Ef?" A gefais I galon newydd ac ysbryd newydd? Ac a ydyw y Beibl megis yn newydd i mi? A gefais I gyfeillion newydd, gwaith newydd, egwyddor newydd, cân newydd, a buchedd newydd? A ellir dywedyd am danaf, "Wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd?"

Y mae rhyfeddodau teilwng i Dduw i'w weled yn gwneuthur pechadur yn sant.—O wyrthiau gras! gwneuthur hen gybydd yn hael, hen gablwr yn weddiwr, hen erlidiwr yn bregethwr, &c. Y mae rhyfeddodau mawrion i'w gweled yn nhröedigaeth pob pech-

adur, ond er mor rhyfedd yw y gwaith, mae ambell i bechadur sydd yn bresenol heno wedi cael ei gyfnewid er pan fuom I yma o'r blaen. Nid yw caledwch, anystyriaeth, cwsg, annuwioldeb, ac annghrediniaeth dynion, ddim yn rhwystr i Dduw weithio.—O fy Arglwydd gweithia.

Ond er mor rhyfedd gwneuthur pechadur yn sant, rhyfeddach o lawer gwneuthur y Sanct yn bechadur. "Yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod trosom, (yn bech-aberth) fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo Ef."

Rhyfeddach oedd i Fab Duw fyned i fôr o ddigofaint i'n harbed ni? Difyrwch eich oes fyddo edrych ar ryfeddodau Duw! Wele, medd ambell un sydd yn gwrando yma, yr wyf yn ofni na chefais I ddim calon newydd, ac yspryd newydd, a'r pethau newydd a soniasoch; yr wyf yn fy ngweled fy hun yr un fath a'r pob peth;—O! beth a ddaw o honof?

Nid diwygio orau byth y galli yw y ffordd i ddyfod yn greadur newydd, Y man ag y mae y Beibl yn dy gyfarwyddo iddo yw, *myned at Iesu fel yr wyt*. A dâl i mi fyned at Grist a minnau heb fod yn greadur newydd? Yr ydwyt yn addas i fyned at Grist *fel yr wyt*; ni chafodd Iesu Grist neb erioed ond *pechadur* i'w achub, fel hyn y cafodd efe bob un a achubwyd. Y mae Efe heno a'i freichiau ar led i'th dderbyn. O bobl anwyl, fy nghyd bechaduriaid ar y ffordd i'r byd trag'wyddol, dowch at Iesu Grist. Dynion drwg at Iesu da i'w gwaredu. Tyred yr euog, fe'th *gliria*; tyred yn aflan, Efe a'th ylch yn wynach na'r eira; tyred a'th glwyfau marwol, Efe a'th gwbl iacha. Nid

oes un addasrwydd mwy i ti ddyfod at Grist na'th fod yn bechadur. Nid oes dim cymhwysder mwy i fyned at y meddyg na bod heb fod yn iach. Cymhwysder i fyned i'r ffynnon yw bod yn aflan. Cymhwysder i fyned i'r wledd yw bod yn newynog. Addasrwydd i fyned at Grist i'w bod yn bechaduriaid euog, aflan, colledig. O bechadur, dos at Iesu fel yr wyt, Efe a'th dderbyn.

GWEDDI.—O Arglwydd, dyro dafod i fynegi dy foliant. Gwna ni yn greaduriaid newydd. Cydffurfia ni â dy gyfraith sanctaidd. Dyro anian dduwiol a'n heddycho â threfn fawr dy iechydwriaeth, a'n heddycho â'th geryddon, â'th ragluniaeth, ac â'th gyfraith; anian i roddi y gogoniant i gyd i ti. Amddiffyn ni â'th gadarn fraich oddi yma i angau, ac yn angau, trwy ein hunig Gyfryngwr a'n Dadleuwr Iesu Grist. AMEN.

"Dyma gyfarfod hyfryd iawn,
Myfi yn llwm, a'r Iesu yn llawn;
Myfi yn dlawd heb feddu dim,
Ac yntau yn rhoddi pob peth im'."

---

# CRYNODEB
# O BREGETH,

A BREGETHWYD YN LLYNLLEIFIAD, TACHWEDD 1af, 1815.



## COLOSIAID IV. 2.

"*Parhewch mewn gweddi.*"



MAE yr apostol yn annog y Colosiaid i farwhau eu haelodau y rhai sydd ar y ddaear, godineb, aflendid, gwŷn, drygchwant, a chybydd-dod, yr hon

sydd eilun-addoliaeth; yn nghyd a phob drygioni. Pethau i'w dodi heibio yw y pethau hyn i gyd,—eu dodi heibio o'ch ewyllysiau a'ch dymuniadau, a'ch ymarferiadau. Nid yw y Bibl yn gofyn i ni roi heibio dim ond y pethau a wnant niwaid i ni ein hunain. Darllenwch y Bibl mor fanwl ag y medroch, a chwi a welwch hyn. "O herwydd y pethau hyn y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufudd-dod." Digofaint Duw a gymmer afael trag'wyddol arnom os na waredir ni oddiwrth "y pethau hyn." Er cymmaint a wnaeth Iesu Grist yn lle a thros bechaduriaid, os ceir di yn gaethwas i'r un o'r pethau hyn, "Digofaint Duw" a gaiff afael arnat. Ond os cai di ymadael â'r pethau hyn, ti gai bethau rhagorach yn eu lle.

"Rhoddwch eich serch ar y pethau sydd uchod." Y mae Duw am ein cael i'r nefoedd yn gynt o lawer nag yr ydym yn disgwyl. Nid oes yma neb yn meddwl myn'd i uffern, a oes? Y mae Duw am gael dy serch i'r nefoedd cyn marw. Cryf iawn yw serch dyn. Mae serch llawer un wedi rhedeg ar ol ei gwrthddrych â serchogrwydd na ollyngant eu gafael tra byddont byw. Os bydd i dy serch fyn'd i'r nefoedd, fe â dy enaid a dy gorph yno ar ol y serch.

Y ffordd i iawn gyflawni yr holl ddyledswyddau y mae yr apostol yn ei gorchymyn ydyw, "parhau mewn gweddi:" i farwhau llygredd, i lenwi y lle y mae Duw wedi ein gosod ynddo, &c. Y mae gweddi yn tarddu o galon y credadyn yn myn'd i entrych y nefoedd; i drysorau y Cyfryngwr, i ddwyn yn ol i'r enaid ddigon o nerth i fyw er gogoniant i Dduw yn y byd. Ni welwyd erioed, ac ni welir byth ddyn duwiol diweddi. Dywedir am Saul o Tarsis, wedi iddo gael tröedigaeth, "Wele, y mae efe yn gweddio."

Wele, yn awr, beth yw gweddio?

I. Beth nad yw gweddio. Nid darllen na gwrando gweddiau da o lyfr, nid hyny yw gweddio. Mi ddarllenais I yr holl weddiau yn y *Common Prayer*, er hyny ni weddiais i ddim. Un gwr a ysgrifenodd 140 o weddiau, ac mi a'u darllenais i gyd, heb weddio un gair. Mi a ddarllenais y Psalmau drosodd a throsodd, ac etto heb weddio dim. Ië, mi ddywedais fy Mhader 5 neu 6 o weithiau yn y dydd neu ragor, ac etto heb weddio dim.

Ac nid cymmeryd geiriau rhai eraill, a dywedyd rhyw lawer o eiriau wrth yr Hollalluog i fynegi iddo pa fath un ydyw, ac am ei Berffeithiau gogoneddus, &c., nid hyn chwaith yw gweddio. Ac nid dywedyd rhyw beth, a churo pob peth o'n hamgylch, a bloeddio, a chodi llais, nid yw hyn chwaith yn weddio. Gallwn fod yn dra ffurfiol wrth geisio gweddio, heb un ffurf. Wele ynte, mewn difrif, beth yw gweddio? "Gweddiaf â'r ysbryd, ac â'r dyall hefyd," medd yr apostol. Y mae holl alluoedd yr enaid ar waith wrth weddio. Hefyd, gweddio yn yr Ysbryd Glân. Gwaith pechadur yw gweddio, a'r Ysbryd Glân yn ffurfio gweddi ynddo. Nid oes gan weddi un ffordd i fyned at Dduw ond trwy'r Cyfryngwr.

Medd y Psalmydd, "A myfi a weddiaf ar yr Arglwydd fy Nuw;" nid ar Mair, Paul, Pedr, &c. Ond ar Dduw, fy Nuw cyfammodol; ar Dduw sydd yn anfeidrol uwchlaw amgyffred neb o'i greaduriaid. Mae perygl tynnu darluniad neu ddychymyg ar Dduw wrth geisio gweddio. Y rhai sydd yn gweddio ar y Duw y maent hwy yn ei amgyffred, yw yr eilun-addolwyr gwaethaf. Y pechadur yw y gweddïwr, ac y mae yr Ysbryd Glân yn ei gynnorthwyo; a'r Mab yn cyflwyno y weddi i'w Dad. Diau y Tad sy'n gwrando gweddiau. Wele, wele, "parhewch mewn gweddi." Y mae gweddi i gyd fyn'd â phob dyledswydd.

Y mae llawer o sôn yn bresenol am lwyddiant yr Efengyl tros y moroedd yn mhlith y Paganiaid tywyll. Wele, "parhewch mewn gweddi." Os nad oes fawr o arian genyt i'w rhoddi i gyfranu Biblau ac anfon Cenhadon, dybla dy weddiau. Yn wyneb pechadurusrwydd a llygredd y wlad, a'th gymmydogaeth, parha mewn gweddi. Oh! meddi, mae fy nheulu yn annuwiol iawn; parha di i weddio drostynt, fe allai wedi dy gladdu di, y bydd atteb i'th weddiau. Y mae llygredd fy nghalon yn gryf iawn. Wele, glŷn di wrth orsedd gras, parha mewn gweddi, a thi a gei fod "yn fwy na choncwerwr trwy yr Hwn a'th garodd." Nid oes nemawr o argoel llwyddiant ar bregethu; ychydig o bechaduriaid sydd yn cael eu hachub i fywyd tragywyddol. Parhewch chwi mewn gweddi, a chwi a gewch weled llwyddiant mawr ar yr Efengyl: y mae pob peth a welwch ac a glywch am holl deyrnasoedd y byd, yn gwaeddi yn uchel, "Parhewch mewn gweddi."

Nid oes ar y cythraul ofn dim yn fwy na gweddi y Cristion. Dychrynwch y cythreuliaid â'ch gweddiau, bobl! Tra byddo Duw yn parhau yn Hollgyfoethog, a thithau yn anghenus, parha mewn gweddi. Ni welais I gymmydogaeth erioed a gafodd ysbryd gweddi, na bum yn dyst o ddiwygiadau mawrion yn yr ardal hyny. Duw y Nefoedd, bendithia y cynghorion hyn i fy ngwrandawyr. Pechod dirfawr yw bod yn anufudd i Dduw. Cofiwch mai Efe sydd yn gorchymyn; caffer chwi oll yn glynu wrth orsedd gras, "yn *parhau* mewn gweddi," tros eich eneidiau a'ch cyrph, eich teuluoedd a'ch cymmydogaethau, dros bob dyn yn yr holl fyd. Cofiwch bod Duw yn barottach i roddi nag ydym ni i ofyn na dymuno. Duw a fendithio hyn o annogaethau trwy Iesu Grist. Amen.

"Ni fethodd gweddi daer erioed
A chyrhaedd hyd y Nef."

WYDDGRUG, ARGRAFFWYD GAN H. AC O. JONES.

# PHYSYGWRIAETH

YR

# HWSMON A'R TLODION,

SEF,

YN NGHYLCH PUM' CANT

## O GYNGHORION ANGENRHEIDIOL,

A DYNWYD ALLAN O

## HEN LYFRAU Y MEDDYGON GOREU

YN YR OESOEDD DIWEDDAF,

PA RAI SYDD YN DANGOS YN EGLURHAOL EFFEITHIAU LLYSIAU Y DDAEAR AR BOB MATH O DDOLURIAU AG SYDD YN DUEDDOL I'R HIL DDYNOL.

---

GAN RICHARD PRICHARD,
*Golchwr Careg-y-mwyn.*

---

Cynghorion dyfnion a da—am lysiau,
Rhinweddol i'th wella,
Paid a'u colli, lles y cylla,
Meindia rhai'n yn nhwymder ha'.

---

MERTHYR TUDFIL:
ARGRAFFWYD GAN THOMAS PRICE.
1839.

## AT Y DARLLENYDD.

---o---

GAN gymmaint ag i mi gymmeryd y trafferth i gasglu a chyfieithu hyn o lyfr, i ddanfon idd eich mysg, dymynwn arnoch i'w gofleidio gyda chariad brawdol, ac esguso pob anfedrusrwydd i osod y llyfr hwn allan fel y gweddai iddo fod, mewn iaith ardderchog, megys y mae yn gyffredin mewn llyfrau o'r fath, ond hyn mi allaf ddywedyd, ei fod wedi ei ysgrifenu yn ddigon dealladwy, yn enwedig i'r dynion yr wyf yn ei gynnyg i'w sylw.

Mi a feddyliais nad oedd yn dda i mi gadw un cyngor o ddaionus roddiad yr Hollalluog, os deuai dan fy sylw, mewn meddyginiaeth, er lles fy nghydwladwyr yn gyffredinol, ond fy mod wedi rhoddi iddynt bob manteision i gael iawn wybodaeth am danynt fel y cefais i hwy, trwy fawr lafur a phoen.

Y mae y Bôd tragwyddol a'i drugareddau yn lluosog iawn yn ein plith, ac o'i gariad a thosturi tuag atom, efe a roddodd wybodaeth a deall i ddynion am effeithiau a lleshad llysiau y ddaear, er lles ein hiechyd, heblaw cannoedd o bethau daionus eraill. Y mae llawer o honom yn diystyru llysiau y ddaear, a phan y byddo rhyw anhwyldeb yn ddyfod i'n cyfarfod, yr ydym yn union yn myned at ryw feddyg, a thrwy hyny yn cael talu arian mawr iddo am ein gwellhad, pan y gallasem wella ein hunain pe baem yn cymmeryd ein hyfforddi gan lyfr o'r fath hwn.

Mae yn ddiameu fod y llysiau yn cael eu galw wrth wahanol enwau, mewn llefydd ar hyd Gymru, ond i'r dyben i gael eglurhad hoddhaol am danynt yn mhob man, rhoddais gofres o honynt ar ddiwedd y llyfr, yn nghyd a'r enwau Saesneg a roddir iddynt.

Yr wyf, y Cymry hawddgar,

Eich ufydd wasanaethydd,

YR AWDWR.

## CYNNWYSIAD.

---

DYGWYDDODD Dau o Wallau yn Tu dal 6, yn yr 2il a'r 8fed Cynghor, lle y gosodir *Llygad Ebrill* i mewn yn lle *Llygad Eglur*, yn y ddau.

# PHYSYGWRIAETH

# YR HWSMON A'R TYLODION.

---

*Cyngorion rhag Gwayw mewn Pen.*

1. Cais Eiddew'r Ddaear, a gwasga eu sudd, sugna fe i fynu i'th ffroenau, fe lanha'r anmhuredd oddi ar yr ymenydd, ac a laesa'r boen.

2. Cais Ddail Ysgaw, a phoetha hwynt yn dda rhwng dwy gareg, gosod hwy ar dy dalcen, a'th arleisiau, a'r boen a dderfydd.

3. Cais wns o hâd Tafod yr Ehedydd, ac wns o hâd Ffenygl, ac wns o *Baysalt*, a briwa'r tri yn bowdr mân, a'u cymysgu yn dda am ben finegar, a Rhoses Cochion, a'i boethi mor boethed ag y gallot ei oddef ar ddernyn o wlanen wrth dy wddf, wrth fyned i'r gwely, bob nos, tra bo'n angenrheidiol; fe wellhaodd y cyngor hwn lawer o ddynion o boen annioddefol; hefyd fe lanhâ y Llygaid yn rhagorol.

4. Y mae Trwyth-rhuddos, (*Tea-maigold*) yn dda iawn rhag poen mewn pen.

5. Y mae Bustl Ysgyfarnog, a'r un faint o Fêl yn dda i iro'r arleisiau rhag gwayw mewn pen.

6. Berwa Chwerwlys, (*Wormwood*) a golch dy dalcen a'th arleisiau bob nos.

7. Cais Bryfed Genwair, a *ffreia* hwy mewn saim gŵydd, a dyhidla'r saim drwy liain glân, a dyfera beth o'r saim i'th glustiau bob nos, mor boethed ag y gallot ei oddef.

## *Cyngorion at Lygaid.*

1. Cais Foch y Coed, (*Woodlice*) pwnia hwy yn dda, a chymysga sudd Cribau Sant-ffraid a hwy, dyhidla'r ddau drwy liain main; a chymmer lwyaid o'r drwyth dros dri boreu, fe wella'r fagl.

2. Cais Lygadebrill, a berwa hwy mewn dwfr ffynnon, a golch dy lygaid nos a boreu, ni bydd angenrhaid am wydr-ddrych, pe byddet byw gann mlynedd.

3. Cais Chwerw-lys, a'i pwnio am ben gwyn ŵy, a'i ddodi yn blastr ar lian wrth dy lygaid; a da yw i dynu cochni, ac afiechyd.

4. Y mae sudd Rue, a Mêl wedi eu cymysgu, rhoi un dyferyn ar y tro yn y llygaid yn bur dda i'w cryfhau.

5. Pan b'o tywyllwch ar y llygaid, da yw tynu ysiw ar y warr.

6. Cais sudd Eiddew'r Ddaear, a sudd Llymllygaid, a sudd Llygaid y Dydd, yr un faint, a 'chydig o ddw'r rhosys cochion, a swgyr gwyn, doda hwy i ferwi a thyna'r anmhuredd oddi ar ei wyneb, gwedi iddo loywi doda un dyferyn yn dy lygaid, nos, a boreu; gwellhaodd y cyngor hwn lawer o ddynion, nas gallent braidd weled goleu'r haul cyn ei ddefnyddio.

7. Brigau Issop, wedi eu pwnio gyda gwyn ŵy, a'u dodi wrth y llygaid sydd dda rhag cochni.

8. Dw'r Llygadebrill, a Dw'r Ffenygl, a Dw'r Rhosys, a Dw'r Llymllygaid, a Dw'r Rue, a Dw'r Rhosmair, yr un faint o bob un, a'u cymmysgu ynghyd, a dodi dau, neu dri dyferyn yn y llygaid, nos a boreu; a da rhagorol yw.

## *Cyngorion rhag gwaedu o'r Trwyn.*

1. Ysgrifena a'th waed dy hun ar dy dalcen, y geiriau hyn: (*Consummatum est,*) ac ef a baid.

2. Os bydd dy ffroen ddeau yn gwaedu, clyma fys Bach y llaw ddeau; os o'r ochr chwith, clyma fys bach y llaw chwith yr un modd, ac efe a baid.

3. Cno wreiddiau Danadl ac efe a baid.

4. Cais garrai ledr, a chlyma dy wialen yn dyn, a chwedi fe rhed y gwaed oddiwrth y blaned fawrth i edrych am wener!!

*Cyngorion i Rwystro Clwyf i Waedu.*

1. Cais Ddail Cacamwci, a'u pwnio'n dda a'u rhoddi wrth y clwyf.

2. Gwna Bowdr o'r llysiau a elwir Briw'r March a dod ef wrth y clwyf.

3. Cais Ddanadl a phwnia hwy yn dda, a gwasga eu sudd, a chymmer lwyaid o'r sudd yn dy ben dro ar ol tro, gan ei daflu allan; profwyd hyn yn dda.

4. Cais Lyngyr y Ddaear a gwna hwy yn bowdr, gan ei ddodi yn y clwyf.

5. Clustiau Ysgyfarnog wedi eu crasu a'u powdro a wnant yr un peth

6. Y mae y Feddon (*sage*) a Chan Gwenith yn dda.

7. Os bydd gwythien wedi tori, ceisiwch Rue a'u berwi yn dda mewn dwr, a'u pwnio, a'u rhoi wrth y clwyf, a sypyn o wlan arno ai glymu i fynu.

*Cyngorion rhag Gwayw a Doluriau mewn Clustiau.*

1. Cymmerwch Gribau Sant Ffraid, a Llwyd y Cwn, a'u pwnio yn dda, gan wasgu y sudd i'r clustiau.

2, Y mae sudd Mintys Gwylltion yn dda iawn.

3. Y mae ychydig o Frandi yn dda iawn ar sypyn o wlân du, ac ychydig saim gwydd.

4. Sudd Derwen Gaersalem a'i ddiferu i'r glust, fe ladd bob pryfedyn f'o ynddi.

*Cyngorion rhag Byddarni.*

1. Cais Wêrmollt a briwa fe yn fân, gan ei ddodi yn y glust; fe wellhaodd y cyngor hwn lawer un.

2. Cais Gedor y Wrach, gwasga ei sudd, gan ei ddodi yn y glust.

3. Sudd Wynwyn Gwyn a'i gymysgu a'r un faint o Fêl, sy'n dda iawn.

4. Sudd Cenin a Llaeth Bron Gwraig, a'u dodi yn y glust sydd dda.

5. Golch dy glustiau oddi fewn yn fynych a'th ddwr dy hun, a'u sychu yn dda.

6. Y mae Brasder Llysywen, Gwin Gwyn a Mêl wedi eu cymysgu a'u twymo yn dda i'w dodi mewn clustiau: yr un faint o bob un.

7. Y mae Bustl Myharen a Mêl, yr un faint, yn dda.

8. Y mae Cawl Gwyllt a dodi dwr poeth i sefyll arno, a diferu peth o'r dwr i'r glust yn dda.

*Cyngorion rhag y Ddannodd, a'r ffordd i dynu y Dannedd yn ddi boen.*

1. Cais y Llysewyn a elwir Gwlydd, a berwa hwn mewn dwr a golch dy enau, a chig y dannedd, dal y dwr yn y genau dros dro sy'n dda. Neu,

2. Cymmer Isop a berwa hwy mewn Finegr, a golch dy enau ag ef mor dwym ag y gallot. Neu,

3. Berwa Lyffant Melyn gyda dwr a finegr, a golch dy enau âg ef. Neu,

4. Cais Lyngyr y Ddaear a rho hwy i sefyll am bedair awr ar hugain mewn *oil*, a difera beth o'r *oil* i'r glust.

*Cyngorion eraill rhag y Ddannodd.*

1. Cais Lyngyr y ddaear a chrasa hwy rhwng dwy gareg fel y gallot eu mala yn bowdr mân, doda beth o'r powdr yn nhwll y dant, a llanwa y dant â chwyr coch, gwna felly ychydig o droion, daw y dant ymaith yn ddi boen.

2. Mae Halen y Graig yn dda i'w ddal yn y genau, neu gnoi gwraidd Llysiau'r Dom, i laesu'r boen.

3. Y mae glanhau y dannedd nos a boreu ar ol bwyta, gyda dwr a halen yn dda i'w cadw rhag pydru a gwynegu.

4. Cais Wy f'o wedi ei ddodwy ddydd Iau, a thyn y gwyn allan o hono, llanwa fe i fynu â halen, dyro fe i rostio wrth dân araf nes y byddo wedi

sychu fel y gallot ei friwo yn bowdr, a rhwbia dy ddannedd âg ef. Mae yn dda iawn os bydd natur cancer yn y dannedd.

5. Cymmer nodwydd a phiga Foch y Coed a dod y nodwydd ar y dant, fe beidia'r gwynegon.

6. Casgla ychydig o Forgryg y Coed ynghyd a'u hwyau, dod hwy mewn llestr pridd ar dân araf i grasu fel y gallot eu gwneyd yn bowdr, dod beth o hono ar y dant afiach, fe gwympa o'th ben.

*Cyngorion rhag Dolur Gwddf* (Quinsy).

1. Cais Afal-euraidd a thyn gymaint f'o ynddo allan, a llanw ef i fyny â thom Ieir ac ychydig *oil* rhosys ac ychydig saffrwn, doda hwy i ferwi ar dân araf, yna cymysga hwy yn dda, gwna blastr o honynt, dod ef o dan dy ên; cofia garthu'r corph yn gyntaf.

2. Dod Edau Sidan mewn gwaed Llygoden, llynca'r edau ddau neu dri thro, a'r gwaed arni.

3. Gollwng waed o dan dy dafod, cais sypyn o Rue (y brigau) a thafell hir o gig Moch, pwnia'r brigau a doda hwy ar hyd y cig Moch, a chlyma hwy am dy wddf.

*Cyngorion rhag Peswch a Darfodedigaeth.*

1. Cais ddyrnaid o Ffigys a berwa hwy mewn Cwrw gwan nes byddont yn dyner, a phwnia rhyw faint arnynt, doda hwy mewn cwdyn bach o liain ar dy ddwyfron gan boethed ag y gallot eu goddef, a phan oerant twyma hwy gan eu dodi yn ol am rai troion.

2. Y mae yn dda iro gwadnau y traed a'u poethi y nos wrth fyned i'r gwely, gydag Ysbryd y Gwin.

3. Casgla Flodau Ysgaw, sycha hwy yngwres yr haul fel y gallot eu powdro, a chymmer ofal na chaffont wlaw, a chymmer haner wns o'r powdr mewn gwydraid o Win Gwyn y nos wrth fyned i'r gwely, am ddau neu dri thro.

4. Rhag y Crygi, cais Goluddlys, berwa hwynt mewn dwr ffynnon, a chymmer gwpanaid o'r drwyth

wrth fyned i'r gwely, dod ychydig swgir ynddo i'w feluso.

5. Cais Lysiau'r Angel, a chrasa'r gwraidd fel y gallot eu gwneuthur yn bowdr, a chymmer wns o hono mewn gwydraid o Win Gwyn, nos a boreu.

6. Cais Wreiddiau y Marchalan, gwna bowdr o hono wedi ei sychu, a chais haner peint o Fêl, a berwa'r Mêl a thyn yr anmhuredd oddiar ei wyneb, cymysga ddwy wns o'r powdr am ben y Mêl, a chymmer haner lloned llwy fwrdd o hono nos a boreu; mae'n dda hefyd rhag diffyg anadl.

7. Chwiffia Ddail Troed yr Ebol wedi ei sychu, neu wasga eu sudd, a chymmer lwyaid o hono nos a boreu.

8. Cais y llysiau a elwir Pidin y Gog, berwa hwy mewn llaeth newydd ei odro, yf haner peint o hono ar y tro, fe lanha bibau'r ysgyfaint,

9. Cais Rue, dyro ddyrnaid o hono mewn peint o Finegr, a chymmer lwyad o hono bob nos a boreu.

10. Cais Ffigys a hollta hwy, llanwa hwynt â Mwstard, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, ac yf ddwy lwyaid ar y tro o'r gwin, ac yn y diwedd bwyta'r ffigys, neu yf ddwr oddiar Isop.

11. Cais Fintys y Gath, yf ddwr oddiarnynt.

12. Cais Cyfordwf a'u berwi mewn dwr neu Win Gwyn, yf wydriad ar y tro o'r trwyth hwn.

13. Cais Hâd Ffenigl a berwa hwynt mewn dwr, a chymer beint o hono nos a boreu.

14. Cais Wreiddiau'r Gromandi a chymysga wns o'u sudd â haner peint o Fêl, cymmer lwyaid o'r trwyth hwyr a boreu.

15. Cais lysiau a elwir y Benfelen a gwna drwyth o honynt, yf nos a boreu.

16. Cais lysiau'r Hebog a berwa hwynt mewn dwr ffynnon, yf beint o'r dwr bob nos a llwyaid o fêl ynddo.

17. Cais Isop, Rue, a Mêl, berwa hwynt ynghyd mewn dwr, ac yf wydriad o hono bob nos.

18. Cais lysiau a elwir Llwyd y Cwn, Môr Ddanadl, yf eu trwyth os byddant yn sychion; neu

eu sudd yn iraidd am ben mêl; maent yn dda rhag diffyg anadl, peswch, a darfodedigaeth; mae Galen wedi eu profi yn dda rhag pob anhwyldeb tufewnol.

19. Cais Brenlicoras, Gwallt y Forwyn, a Ffigys, berwa'r tri mewn dwr ffynnon ac yf beth o hono nos a boreu.

20. Cais lysiau'r Ysgyfaint a berwa hwynt mewn dwr a mêl, a chymer beint o hono bob nos.

21. Y mae trwyth Mintys a Bôm yn dda.

22. Y mae sugno Mwstardd i'r ffroenau yn dda.

23. Y mae sudd Mwstardd y Perthi a Mêl, neu Siwgr, a chymmeryd llwyaid ar y tro yn dda iawn.

24. Y mae trwyth Danadl wedi eu berwi mewn Mêl, neu Siwgr, yn dda rhagorol i'w gymeryd.

25. Cais y Doddedig-rudd a gwasga ei sudd, a doda dair llwyaid o'r sudd am ben peint o Win Gwyn, a chymer lwyaid o hono bob nos.

26. Fe ddywed PLINY fod gwraidd Brwyn gwedi eu berwi mewn dwr a'u hyfed yn fynych, yn dda rhag y darfodedigaeth.

27. Cais sudd y Fedwen Chwerw, y Feddon (*Sage*), a chymysga ef â Mêl, a chymer lwyaid o hono bob nos a boreu.

28. Os bydd Gwaedlif yn yr Ysgyfaint, yf drwyth Camamil ddwy waith yn y dydd, doda ddwy wns o'r Camamil bob tro.

29. Os bydd poethni yn yr Ysgyfaint, yf drwyth Dail Llydan y Ffordd bob dydd.

30. Y rhai f'ont yn cael eu blino gan archwaeth, (ystymog) ddyfrllyd, ceisiant bren main gan glymu dail Deri wrth ei ben, wedi eu tori yn lled grynion, a'u gwthio i'r gwddf mor belled ac y gellir eu goddef, a thynant lawer o ddwr i fynu.

31. Neu, cymerwch dri *grain* o *Mastick* bob nos wrth fyned i'r gwely, a llaesa'r boen.

32. Ceisiwch sudd Cenin a cymysgwch am ben yr un faint o *Sweet Oil*, gan gymeryd haner llwyaid o hono bob nos.

33. Cais Fygfaen wedi ei bowdro a chymmer gymaint ag elli gwnu rhwng tri bys o hono, ai gym-

mysgu ag wy wedi haner ei rostio, a'i gymmeryd dros bum' boreu cyn bwyta; dylid dodi ychydig llai i blentyn dros dri boreu.

35. Cais Wreiddiau Marchalan, un wns, tair wns o Hâd Ffenygl, dwy wns o Bupyr Duon, gwna hwy yn bowdr mân, a chymysga'r powdr â pheint o Fêl, doda gymaint a chneuen ffrenig o hono ar y tro mewn dwr neu Win Gwyn, ac yf nos a boreu.

36. Cais Lysiau'r Afu, a Llysiau yr Ysgyfaint, a Gwallt y Forwyn, a Llwyd y Cwn, a Chribau Santffraid, a sych hwynt yn dda, a gwna hwynt yn bowdr, a chymysga'r powdr a Mêl wedi ei ferwi, a chymmer gymaint a chneuen ffrengig o hono, bob nos. Gwellhaodd hwn lawer o ddynion ffaeledig.

37. Y mae Calonau, ac Ysgyfaint Gwyddau Gwylltion wedi eu berwi yn dda i'w bwyta i un mewn Darfodedigaeth.

38. Cymmer ychydig o *Durpentine*, a Mêl wedi ei ferwi, cymysga hwynt âg Wy, cymmer lond llwy *dea* o hono bob nos; bydd sicr o attal y peswch.

39. Cais ddyrnaid o Isop, a deg o Ffigys, ychydig o Frigau Rue, berwa hwynt mewn dwr a mêl, cymmer wydraid o'r drwyth bob nos.

40. Cais Ddail Hocys a'u hadau, berwa hwynt mewn Llaeth newydd ei odro, neu mewn Gwin Gwyn, yf beth o hono bob boreu.

41. Cais Marchredyn y Derw, crynhoa hwynt o ddechreu Mehefin i ddiwedd Medi, tyn eu sudd o honynt a chymmer dair, neu bedair wns o hono bob boreu.

42. Y mae yfed Llaeth Asen yn dda rhag Darfodedigaeth.

43. Rhoddwch llond llwy dê o *Salts of Tartar* ac un wns o Siwgr Gwyn, mewn peint a haner o ddwfr, yfwch lond gwin-wydryn dair gwaith y dydd, a chwi a gewch lonydd gan y peswch.

44. Cais un wns ar bumtheg o Wynwyn y Môr, a thyn y pilyn uchaf ymaith, yna tor hwynt yn fan â chyllell o asgwrn, doda hwynt i sychu yn yr haul, yna dod hwynt mewn costrel, a chwech pwys o

Finegar, i sefyll am fis, yna cymmer lon'd llwy fwrdd o hono bob boreu: dylid ystwrio yn dda dros haner awr wedi ei gymmeryd.

D. S. Gwellhaodd hwn lawer, wedi i'r Meddygon goreu fethu.

*Cyngorion rhag y Coluddwst*, (Colic).

1. Os bydd yn amser o'r flwyddyn, cais benau Gerllyg Iraidd, a gwasga eu sudd am ben gwydraid o Win ac yf ef.

2. Cais Safery Gwylltion, berwa hwynt mewn chwart o Win Gwyn, ac yf haner peint o hono ar y tro yn fynych.

3. Cais Rosmair, a Sadis, a gwerth dwy geiniog o *Baysalt*, a phoetha hwynt yn dda rhwng dwy gareg, doda hwynt yn dwym wrth dy fogail.

4. Cais Forgryg y Coed a'u hwyau, doda hwynt mewn ffwrn i grasu, a chymmer un *dram* o honynt mewn rhyw Wirod.

5. Y mae Hâd Llin gwedi eu gwneyd yn bowdr, a'u cymmeryd mewn Gwin yn dda iawn; neu gymmeryd peint o Ddwr Ffynon wedi ei dwymo, a dodi haner pwys o Siwgr Llwyd ynddo, a'i yfed ar unwaith.

6. Gwna drwyth o'r llysiau a elwir Mintys y Gath, doda ychydig o Siwgr Llwyd ynddo, ac yf.

7. Y mae llawer wedi cael eu gwella wrth yfed gwydraid o *Gin*, a dodi ychydig o sudd *Pepermint* ynddo.

8. Cais Afu Ysgyfarnogod, a berwa hwy yn dda, a chymmer y scym, ag ira'r fan y bo'r poen ag ef.

9. Cais Saim Paun, a Sudd Rue, a Mêl, yr un faint o bob un, cymysga hwynt a Gwin Gwyn, a chymmer lond llwy o honynt ar y tro.

10. Cais Lwyd y Cwn, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, yf beth o hono. (Gwellhaodd hwn lawer.)

11. Cais y Fedwen Chwerw, (*Sage*) Llysiau Ieuan, Cnau'r Ddaear, yr un faint o bob un, a berwa hwynt mewn Gwin, nes y lleiha un ran o

dair o hono, a hidla ef drwy lian, a chymmer bedair wns o hono ar y tro.

12. Cais Had Persli, a Blodau Rhosmair, a dail Llwyd y Cwn, a *Resins*, gymaint o bob un a'u gilydd, a berwa hwynt mewn Dwr, a Gwin, yr un faint, dyhidla hwynt drwy lian, a chymmer ddwy wns o hono ar y tro.

13. Cais ddwy wns o Had Ffenigl, ag ychydig o *Bepermint*, a chrasa hwynt yn dda, fel y gallot eu gwneud yn bowdr, a thwyma wydraid o Win Gwyn, doda un *dram* o'r powdr ynddo i'w gymmeryd ar y tro.

14. Y mae Hâd Cywarch, a Hâd Tafod yr Ehedydd yn bur dda i'w cymmeryd, wedi eu powdro, mewn ychydig o Win Gwyn.

*Cyngorion i Wragedd ar amser Genedigaeth Plant.*

1. Cais Sudd Persli, a gwlŷch lian ynddo, doda ef i fynu yn y dirgel, gwna iddi gael rhyddhad o blentyn, byddedd fyw neu farw.

2. Y mae Sudd Persli yn dda i Wraig i'w gymmeryd i gael gwared o'r ail gôl.

3. Y mae Sudd Persli yn dda i'w gymmeryd i lanhau y groth o bob afiechyd, ar y cyfryw amser.

4. Cais Farchredyn y Derw, pwnia hwynt yn dda, doda hwynt yn blastr wrth droed yr un glaf, hi gaiff ryddhad o'r Plentyn yn ebrwydd, bydded fyw neu farw

5. Dywedir pan y bydd gwraig ar drafael y gwna Llaeth Gwraig arall iddi gael amser esmwyth, ac ysgafn, ond ei yfed.

6. Cais Lysiau Ieuan, berwa hwynt yn dda mewn dwr, doda hwynt yn blastr wrth Forddwydydd gwraig a fo'n glaf ar enedigaeth Plentyn, hi a gaiff ryddhad mewn byr amser; well peidio ei adael rhŷ hir rhag ofn iddo ddrygu'r groth.

7. Cais y Dditain, crasa'r dail a gwna bowdr o honynt, doda un *dram* i Wraig a fo'n glaf ar enedigaeth Plentyn.

8. Cais Hâd y llysiau a elwir Rhosyn y Mynydd, gwna hwynt yn bowdr, a chymysga ef âg *Oil*, a gwna blastr o hono, doda ef wrth faingefn yr un glaf, a hi a gaiff ryddhad buan ac esmwyth.

9. Y mae Cribau Santffraid yn dda iawn i'w cymmeryd i Wraig a fo'n glaf ar enedigaeth Plentyn.

10. Y mae rhai Physygwyr o'r farn os bydd Gellaig, (*Pears*) yn agos i Wraig a fo ar ei thrafael y bydd yn anhawdd iddi gael ryddhâd.

11. Cais Nyth Gwennol, doda ef i sefyll mewn dwr, a rho beth o'r dwr i'r Wraig a fo'n glaf, hi a gaiff ryddhad buan ac esmwyth.

12. Y mae Sudd Gwreiddiau Marchalan, o fis Gorphenaf i fis Medi, yn dda i Wraig gymmeryd dwy, neu dair wns o hono ar y tro, os bydd y Plentyn yn farw gyda hi.

13. Cais Ddail Tansi, sycha hwynt yngwres yr haul, a gwna bowdr o honynt, a rho i'r Wraig glaf o ddeutu haner wns o honynt mewn gwydraid o Win Gwyn, a glanheir y cylla o bob anmhuredd.

14. Cais chwech pwys o Win Gwyn, a Mintys y Gath, y Fedwen Chwerw, Rhosmair, haner dyrnaid o bob un, a berwa hwynt yn y Gwin, nes byddo'n llai o un rhan o bedair, pan byddo Gwraig yn agos i'w thymp, golched ei choesau âg ef nos a boreu, yna caiff amser esmwyth.

15. Os bydd Gwraig yn ofni am ei rhyddhad, ceisied ddau *rain* o Saffrwm, a dwy *ddram* o Siwgr, a chymysged am ben pedair wns o ddwr Gwlydd Mair, neu Lysiau'r Cryman, a chymmered ei haner y boreu, a'r gweddill y nos wrth fyned i'r gwely.

16. Cais Fintys y Creigiau, ac Isop, a phwnia hwynt yn dda, gwasga dair wns o'u sudd, dyhidla ef drwy lian glan, a rho'r sudd iddi i'w gymeryd yn gyson, ac na fwytaed ddim cyn pen pump, neu chwech awr, a hi a gaiff ryddhad buan ac esmwyth.

*Cyngorion i Ferched, a Gwragedd i dynu i lawr y Mis-lif,* (Terms.)

1. Ceisiwch y llysiau a elwir Mintys y Gath,

gwnewch hwynt yn bowdr, a chymmerwch un *dram* o honynt mewn gwydraid o Win Gwyn, ar ben boreu. Ond cofiwch beidio ei roddi i un feichiog, bydd yn debyg o wneud mawr ddrwg iddi.

2. Ceisiwch Wreiddiau'r Elestr, dodwch ar farwor i grasu, yna pwniwch hwy am ben olew, dodwch ar liain y nos wrth y dirgel, a newidiwch y Plastr yr ail noswaith, digwydd na chewch leshad.

3. Y mae Trwyth y Fedwen Chwerw yn dda er tynu i lawr y Mis-lif. Hefyd y mae berwi pob llysiau sy'n dda at yr achos, a'u dodi mewn *llestr*, a'r Ferch neu Wraig eistedd uwch ei ben, i dderbyn yr anwedd yn dda iawn.

4. Y mae yr holl lysiau hyn yn rhinweddol i dynu'r Mis-lif i lawr: Cyngaw, Llysiau'r Hidl, Ysgallenwen, Ysgall Mair, Cribau Mair, y *Dditain*, Ffenigl, Elestr, Alanmawr, Dail y Tryfan, y Wermodwen, a'r Lwyd, Ysgarlys, y *Fedwen* Chwerw, Gwallt y Forwyn, y Llysiau Llwyd, Tafod y March, Isop, Llysiau Mair Fadlen, *Llysiau'r* Angel, Cnau'r Ddaear, Troed y Gywen, (*Purslane*) y Milwydd, Derwen Caersalem, Derwen y Ddaear, Mintys y Gath, Cribau Santffraid, cymmerwch drwyth un o'r rhai hyn, ac os na etyb y diben, profwch arall; y maent oll yn dda.

D. S. Gwell ydyw defnyddio y Cyngorion hyn o ddeutu'r llawn lloer, nac un pryd arall.

*Cyngorion i rwystro'r Mis-glwyf i redeg gormod.*

1. Ceisiwch Ddail Llydan y Ffordd, Llysiau'r Cribau, Blodau Afal Gronynog, Llwynhiddydd, Ysgelynlys, Penau'r Gwyr, Traeturiaid y Bugeilydd, a Phisgl y Derw, berwch hwy i gyd mewn dwr, yna eistedded y Wraig uwch ben yr anwedd, ac iach a fydd.

2. Y mae yfed dwr f'o wedi sefyll mewn hen Geubren Derwen yn dda iawn i'w attal.

3. Gwna bowdr o Wraidd Llysiau'r Cwlwm, a Dail y Twrch, Traeturiaid y Bugeilydd, a chymmer

beth o'r powdr hwn mewn gwydraid o Win, nos a boreu.

4. Cais y llysieuyn a elwir Nele, crasa fe yn dda, a gwna bowdr o hono, a chymmer un *dram* o'r powdr mewn ychydig o Win Gwyn.

5 Y mae blodau y Ddanadlen Ddall, a'u gwneud yn drwyth yn dda iawn i'w gymmeryd.

*Cyngorion rhag Llewygon y Fam.*

1. Cais Ddanadl Poethion, a phwnia hwynt yn dda, yna doda hwy wrth y *dirgel,* a ettyl y boen.

2. Y mae Hâd Danadl wedi eu powdro, a'u cymmeryd mewn ychydig o Win Gwyn yn dda.

3 Cais wns o Faw'r Diawl, a rhwyma mewn lliain, berwa fe mewn tri pheint o Laeth newydd ei odro, nes y byddo wedi lleihau i'r hanner, a'i yfed wrth fyned i'r gwely, gwna hyny dair neu bedair gwaith, os bydd achos.

4 Pwnio Dail Cynga sy'n dda, a'i dodi dan wadnau'r traed, ac os bydd y groth yn tynu i lawr, dodwch hwynt ar wastad; y pen llysieuyn yw hwn a dyn y groth bob ffordd; ac os na bydd y dail i'w cael, gwna yr hadau yr un gystal.

*Cyngorion rhag Chwydd, neu glwyf mewn Bronau Gwraig: yn gyntaf, pan byddo Gwraig yn cael anwyd, neu awel yn ei bron, neu'r llaeth yn cael ei gymmasgu yn gyffelyb i gaws, neu'r bronau wedi chwyddo f l nad allo'r plentyn sugno.*

1. Ceisiwch Flawd Ffa, a Gwyn Wy, cymmysgwch hwy yn dda, a dodwch yn blastr ar y fron.

2. Y mae y Crystyn Bara, a sudd Cnau'r Ddaear wedi eu cymmysg, yn dda i'w dodi yn blastr ar y fron, os bydd y llaeth wedi cawsio.

3. Os bydd y fron gwedi tori, a bod tyllau ynddi, ceisiwch dom Geifr, a Mêl, cymmysgwch hwynt ynghyd, gan ei ddodi yn blastr ar y fron.

4. Y mae Pwltys wedi ei wneuthur o Ddail Hocys, a Llysiau y cywion, Lluwch Brag, a Gwêr Mollt yn dda.

5. Y mae Dom Geifr a Finegar, a'u rhoddi yn blastr wrth y fron yn dda iawn.

6. Dywedir fod Lludw Pen Ci, wedi ei losgi, yn dda i'w ddodi mewn tyllau f'o yn y fron.

7. Y mae Bloneg mochyn bychan, yn bur dda i iro bron fyddo wedi caledi.

8. Dywedir y fod Wyau Petris wedi eu pwnio am ben tàr, yn dda i'w dodi wrth y fron.

*Cyngorion rhag y Gymmalwst,* (Gout.)

1. Irwch y man dolurus âg Olew Hâd Tagwyg, fe a'u gwella heb un cymmysg arall.

2. Cais Hocys y Gors, a phwnia hwynt yn dda, gan eu cymmysgu â hen Floneg, a'u dodi wrth y man clwyfus, bydd iach ymhen tri diwrnod.

3. Cais lawer o Ddail Llydan y Ffordd. gwna hwy'n bowdr mân, cymmysga hwn â hen Floneg, a rhwbia'r man dolurus âg ef, a doda wlaneu grai am dano i'w gadw'n gynhes.

4. Cais Ffigys, a Mwstardd, a Mêl, ychydig o Fara Gwenith, ac ychydig o Finigar : pwnia hwynt am benau eu gilydd, gan eu dodi yn blastr wrth y man poenus, fe ettyl y boen.

5. Cais Gig Cath dew, Saim Gwydd, Saim Mochyn Bychan, Saim Llwynog, cais Fedwen Chwerw, a Rue, ac Wyau, a Malwod ; doda y rhai hyn i gyd mewn llestr pridd a thwll yn ei waelod, dod glawr arno i attal auwedd allan, na gwynt i mewn, dod waelod y llestr hwn mewn gwaelod llestr cyfan arall, a thor dwll yn y ddaear, fel y gallot ddodi'r llestr isaf ynddo, yn fin-fin a'r ddaear, a'r llall yn ei wddf; a chyn dân o bob tu i'r uchaf, fel y gallo'r sudd a'r brasder ddisgyn i'r isaf, ac â'r cymmysg hwn ira'r man afiach.

6. Dywedir mai peth da rhagorol yw Olew o'r Llysiau a elwir Llewyg yr Iâr i iro'r man poenus.

7. Neu cais Falwod, a phwnia hwynt, gan eu dodi yn blastr wrth y man clwyfus.

8. Y mae Ffa y Moch wedi eu twymo rhwng dwy gareg, yn dda i attal y boen drwy eu dodi ar y fan afiach.

9. Y mae Moch y Coed, a'u Hwyau, a hen Floneg wedi eu pwnio yn nghyd, âg iro'r man clwyfus wrth dân gwresog, yn dda i attal y boen.

10. Cais *Deim*, a llosga ef yn lludw, cymmysga hwn am ben Wyau wedi eu tori, dod blastr o honynt wrth y man poenus, bydd debyg o attal.

11. Cais Forgrug y Coed, a'u Hwyau, a phwnia dri neu bedwar chwart o honynt, doda hwy i ferwi mewn dwr, a chymmer glwtyn gwlanen a badda'r man poenus âg ef mor boethed y gallot ei oddef, fe laesa'r boen.

12. Rhai a ddywedant mai'r peth goreu i wella'r Gymmalwst yw Olew y Llew, drwy iro'r man poenus.

*Cyngorion ereill gan Galen.*

13. Cais y llysiau a elwir y Cawl Gwyllt, gan eu pwnio, a'u cymmysgu â Bloneg, gan iro'r man poenus âg ef, fe'i gwella mewn tri diwrnod.

14. Y mae'r llysiau a elwir y Doddedigrudd, wedi eu pwnio am ben Bloneg, a'u dodi ar glwtyn wrth y man poenus, yn dda iawn.

15. Y mae yr hyn sydd wyn o ddom Colomenod, a Mwstardd, yr un faint o bob un, a Saim Ci Bach o dán ei fam, i wneud enaint, drwy eu dodi ar dan araf, ynghyd â dyrnaid o Bersli, ar ol iddynt ferwi dros awr, cais Falwod y Gerddi, pwnia y rhai'n yn dda, gwasga eu sudd drwy liain, cymmysga ef â'r enaint, gan ei ddodi wrth y man poenus, gwellha mewn tri diwrnod

16. Cais Falwod Llwydion, pwnia hwynt ynghyd âg ychydig Bersli, nes byddont yn blastr parod, gan ei ddodi wrth y man poenus, a'i newid bob pedair awr ar ugain.

17. Dywedir fod y Gwres a ddaw oddiwrth Ledr drwy ei ddodi ar dan, yn dda rhag y Gymmalwst.

18. Dywedir y fod dyrnaid o Lysiau Ieuan, gwedi eu berwi mewn *Salet Oil*, yn dda at yr unrhyw.

19. Cais werth chwe' cheiniog o *Oil* o *Bayes*, gwerth tair ceiniog o Ddwr y Bywyd, a sudd Sads, a Finigar, a Mwstardd, a Bustl Eidion, yr un faint o bob un; rhwyma hwy i gyd mewn pledren helaeth, gan ei hysgwyd yn dda, yna bydd genyt enaint rhagorol i'th wellhau.

20. Cais y llysiau a elwir Cra'r Gerddi, a Llysiau'r Muroedd, Papyr y Fagwyr, pwnia hwy'n dda, gan eu dodi wrth y man dolyrus, maent yn dda at bob math o Gymmalwst.

21. Cais ddyrnaid o Lysiau'r Din, rholia hwy i fynu mewn Dail Cyngaf, gan eu dodi mewn lludw oer, doda farwor ar y lludw, a thân ar y marwor, gad iddynt boethi, yna doda hwy wrth y man afiach gan boethed y gallot eu goddef; gwna hyny nos a boreu am dri, neu bedwar niwrnod.

22. Cais Esgyrn Ceffyl, a golch hwy yn lân, a gad iddynt sychu yn yr haul, a briwa hwy yn fân, gan eu dodi i ferwi mewn crochan a dwr, a chadw'r brasder i eneinio'r man afiach.

23. Dywedir fod Pen Barcud Ieuanc o'r nyth, cyn bod dim plyf arno, a llosgi'r pen nes y byddo yn lludw, a chymmeryd y trydydd ran o *ddram* o hono, mewn rhyw wlybaniaeth unwaith mewn diwrnod, yn dda i wella'r Gymmalwst.

24. Cais wreiddiau Cyngaf, pwnia hwynt yn dda, a berwa hwy mewn lleisw, a hidla fe drwy liain garw, doda gymmaint o *Salet Oil* ac o leisw, berwa hwy yn dda am benau eu gilydd, nes byddo'n enaint tew i iro'r man afiach.

25. Cais ychydig o Wyau, tor hwy ynghyd âg ychydig o Saffrwm, ac ychydig o Laeth Bron Gwraig, cymmysga hwy yn dda, gan eu dodi yn blastr wrth y man poenus.

26. Cais Ddanadl Poethion, a phwnia hwy yn dda gyda Halen, gan eu dodi yn blastr wrth y man poenus.

27. Cais gymmaint a chneuen ffrengig o Sebon Dû, a sudd Rue, a sudd Llymllygaid, a chymmysga hwy ynghyd, gan eu dodi yn blastr wrth y man poenus.

28. Cais beint a hanner o Gwrw da, ac wyth wns o Sebon Dû, a dyrnaid o *Baysalt*, gwedi ei friwo yn fân, berwa hwy ynghyd nes y lleihânt i'r hanner, wedi hyn doda atynt bedair llwyaid o Ddwr y Bywyd, a chymmysgwch hwy yn dda, yna gwlychwch liain ynddo, gan ei ddodi ar y man poenus.

29. Cais Fochyn Bychan, lladd ef, gan ddinoethi ei flew fel mochyn arall, ac yna gwna dwll yn ei ochr, a thyn ei berfedd allan, llanw ei le â Danadl Poethion, doda ddwy wns o Frwmstan, a phedwar o Wyau, a phedair wns o *Durpantine*, a chymmysga hwy am benau eu gilydd, a gwnia'r twll i fynu, yna rhostia'r mochyn, a chadw ei saim, gan eneinio'r man clwyfus âg ef.

30. Cais y llysiau a elwir y Gramandi, berwa hwy mewn Finigar, yna badda'r lle poenus âg ef.

*Cyngorion rhag Clefyd y Brenin, neu'r Manwnion.*

1. Cais Ddail Llydan y Ffordd, Llygaid y Dydd, a Dail Briallu, Traeturiaid y Bugeilydd, yr un faint o bob un; sycha hwynt yn dda fel y gallot eu gwneud yn bowdr, a chymmered y claf un *dram* o hono bob nos, a boreu, a chanol dydd, mewn rhyw wirod.

2. Dywedir fod Pen Ci wedi ei Losgi mewn llestr pridd, a dodi peth o'r lludw ar y clwyfau yn dda iawn.

3. Os bydd twll, neu dyllau yn y man clwyfus fel nad ellir dodi dim ynddynt o achos caledwch, neu ryw beth arall, cais Dom Geifr, a berwa hwn gydâ Mêl, dyhidla ef pan y byddo'n dwym, a difera beth o hono yn dwym i'r tyllau, fe dyn y chwydd, fe ddifa'r cig marw, gan iachâu y clwyfau.

4. Y mae sudd Dail Llydan y Ffordd yn dda i'w ddodi yn y clwyfau.

5. Y mae sudd Dail Traeturiaid y Bugeilydd, a sudd Dail Llysiau'r Cryman a'r un effaith ynddynt.

6. Y mae dernyn teneu o blwm yn dda i'w ddodi ar y manau clwyfus.

7. Cais Ysgallen Fendigaid, a phwnia hi yn dda, a chais Win Gwyn, a Chan Gwenith, a Bloneg, a chymmysga hwy yn dda, yna eneinia'r man clwyfus âg ef, fe'i gwella ped fai'r esgyrn yn ddrwg.

*Cyngorion rhag Clefyd y Gareg.*

1. Cais Waed Geifr, a sych ef yn dda fel y gallot ei wneud yn bowdr, a chymmer un *dram* o hono mewn Gwin Gwyn, fe dyr y gareg.

2. Dywedir fod y gareg y gaffo dyn wared, yn dda i'w gwneud yn bowdr, a dodi un *dram* o honi mewn Gwin Gwyn, yn dda iawn.

3. Dywedir fod y gareg a geir mewn llyffaint melyn, wedi ei phowdro, a dodi ychydig o hono mewn Gwin Gwyn, yn dda i ddifa'r gareg.

4. Y mae Malwod Cyrn, wedi eu sychu, y cyrn a'r cyfan, a'u gwneud yn bowdr, yn dda iawn i gymmeryd peth o hono mewn Gwin Gwyn.

5. Dywedir fod sudd Llysiau Ieuan, a chymmeryd chwarter peint o hono yn y boreu, yn sicr o dori'r gareg.

6. Dywedir fod ychydig o Bren Eirin f'o wedi pydru, trwy ei yfed mewn Gwin Gwyn yn sicr o dori'r gareg, a glanhâu yr arenau, a'r bledren.

7. Cais Bersli, a Theim, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, a dod ynddo lon'd llwy o *Gastil Soap*, wedi ei grafu yn fân, ac yfed y claf beth o hono ar y tro.

8. Berwa lon'd llaw o Flodau Pren celyn, mewn peint o Gwrw nes byddo wedi lleihâu i'r hanner, a hidla ef drwy liain, dod ychydig o ymenyn ynddo, a chymmer bump, neu chwech llwyaid o hono ar y tro.

9. Y mae gwreiddiau Danadl Cochion, gwedi eu powdro, a chymmeryd *dram* o'r powdr ar y tro mewn Gwin Gwyn, yn dda i dori y gareg.

10. Cais Wyau, a chrasa hwynt fel y gallot eu gwneud yn bowdr, a chymmer beth o'r powdr mewn Gwin Gwyn, fe dyr y gareg.

11. Y mae Egwan, neu hadau Drain Gwynion yn dda i'w cymmeryd mewn Gwin Gwyn.

12. Cais Hâd y Cyngaf Lleiaf, a briwa hwynt yn bowdr mân, a chymmer un *dram* o hono ar y tro mewn Gwin Gwyn, fe ŷr y cerig ymaith o'r arenau.

13. Dywed rhai fod Dwr Baedd yn dda i'w gymmeryd at dori'r gareg.

14. Cais o ddeutu deugain o Wenyn, a sych hwynt fel y gallot eu gwneuthur yn bowdr, a chymmer un *dram* o hono ar y tro mewn Gwin Gwyn.

15. Cais y llysiau gwyrddion sy'n dyfod o'r mòr gyda'r wystrys, golch hwy yn lân, a sych hwy, fel y gallot eu gwneud yn bowdr, dod ddwy *ddram* o'r powdr mewn Gwin Gwyn, gan yfed peth o hono bob boreu.

16. Cais *Oil Cristal,* a chymmer un *dram* o hono, fe dyr fy gareg: i gael prawf o hyn, cais gareg, a dod hi mewn dwr dyn fyddo wedi yfed o'r *oil,* fe'i tyr mewn deuddeg awr.

17. Y mae Gwreiddiau Tormaen, Hâd y Gramandi gwedi eu berwi, a'u cymmeryd mewn Gwin Gwyn yn dda.

18. Cais Ffenigl, ac *Anniseed,* Hâd Tafod yr Ehedydd, Hâd Gramandi, yr un faint o bob un, gwna hwynt yn bowdr, a chymmer un *dram* o honynt mewn Gwin Gwyn.

19. Cais wraidd Celyn y Môr, a phowdra hwy'n dda, a chymmysga hwn gydâ Siwgr Coch, a chymmer *ddram* neu ddwy o hono, mewn Gwin Gwyn.

20. Cais Lysiau'r Angel, a berwa hwy mewn Gwin Gwyn, ac ŷf wydraid ar y tro, da yw.

21. Y mae Pren Licoras, a berwi'r dwr, wedi eu berwi mewn Gwin Gwyn, yn dda iawn i dorri'r gareg.

22. Cesglwch o'r pryfaid a elwir y Fil-droed, neu Foch y Coed, golchwch hwy mewn Gwin Gwyn, a dodwch hwy mewn *pot* pridd, a'i gaead yn ofalus rhag i'r anwedd fyned allan, dodwch y

llestr mewn ffwrn fel y craso'r pryfaid yn dda, wedi hyny gwnewch hwy yn bowdr mân, dodwch ar y powdr gymmaint o Win Gwyn ag allo lyncu, dodwch yn y ffwrn eilwaith, tynwch allan, gan ddodi gwin yr un modd, ddwywaith yn ychwaneg, dodwch ychydig o sudd Syfi ynddo, ac ugain diferyn o *Oil* y *Fitriol*, creswch ef un waith yn ychwaneg, yna dodwch ef mewn llestr gwydr, a chaead sicr arno, yna cymmered y claf, os bydd yn ŵr cryf, *ddram* a hanner o hono ar y tro, a hanner wns o Ddwr y Bywyd yn gymmysg âg ef mewn ychydig o gawl, neu'r cyffelyb.

D. S. Gwellhaodd y cyngor hwn wedi i'r Meddygon goreu fethu.

23. Cymmerwch Wynwyn, a llosgwch hwynt mewn llestr pridd nes byddont yn lludw gwyn, cymmysgwch wns o'r lludw am ben Gwin Gwyn, arfered y claf ei yfed yn fynych.

24. Y mae berwi Moron Cochion mewn dwr glân, a'i yfed beunydd yn dda at yr un achos.

*Cyngorion i dynu Drain, neu ryw Bigau o gnawd Dyn.*

1. Cais Siwdr-mwdr, neu hen ŵr, a phwnia fe'n dda gydâ Bloneg Mochyn, a dod ef yn blastr ar y man y bo'r drain, fe'i tyn allan.

2. Dom Gwydd, gwedi ei gymmysgu â sudd Cribau Sant Ffraid a wna'r un peth.

3. Y mae Gwenholiaid gwedi eu llosgi nes y byddont yn bowdr, a'i gymmysgu â Bloneg, yn dda at yr unrhyw.

4. Y mae Marchredyn y Derw gwedi eu pwnio am ben Bloneg, yn dda.

5 Y mae gwreiddiau y Gellhesg wedi eu pwnio a'u dodi wrth y man dolurus, yn dda; hwy dynant hyd y nod esgyrn briw allan; os cymmerir hwy, y mae ganddynt yr un effaith oddi fewn.

6. Y mae Cribau Sant Ffraid wedi eu pwnio am ben Bloneg Moch, yn dda hefyd.

7. Y mae Gwraidd Marchalan wedi eu pwnio gydâ Bloneg Mochyn Bychan, ag ychydig o Fêl, a'i ddodi yn blastr wrth y man angenrheidiol yn dda iawn.

8. Y mae Malwod wedi eu pwnio, a'u dodi yn blastr wrth y lle angenrheidiol yn dda.

9. Rhai a ddywedant fod Tafod Llwynog, wedi dyneru mewn Finigar, yn dda i'r un achos.

10. Cais Halen, a Mêl, a Gwin Gwyn, a Sulpher, a Chribau Sant Ffraid, yr un faint o bob un, pwnia hwy, gan eu gwneud yn blastr, a'i ddodi ar y clwyf; ac os bydd yno fàn esgyrn, cais Flawd Rhŷg, a Blawd Ceirch, pump *dram* o bob un, a Sudd Dail Llydan y Ffordd, *dram* a hanner, a'u cymmysgu â'u gilydd, gan eu dodi yn blastr wrth y fan dolurus.

11. Y mae Gwraidd Danadl wedi eu pwnia gydâ Halen, a Gwraidd Troed y Dryw gwedi eu pwnio, yn dda iawn.

*Cyngorion i un fo'n Methu Cadw ei Ddwr.*

1. Cais Bledren Gafr, neu Ddafad, neu Darw, a'u crasu, fel y gallot eu gwneud yn bowdr, a dodi un *dram* o hono mewn Gwin Gwyn i'w yfed, i ddyn o gyflawn faintioli, a'r hanner i blentyn.

2. Hefyd, y mae Ymenydd Ysgyfarnog wedi ei gymmysgu â Gwin Gwyn, yn dda.

3. Y mae Ysgyfaint Mynn Gafr, a'i ddodi yn dwym wrth y bogail, neu wddf y bledren, yn bur dda.

4. Y mae'r llysiau a elwir Mantell Mair, wedi eu pwnio yn dda am ben Finigar, yn dda, drwy eu gwneud yn blastr, yr un modd.

5. Cais Lygoden, blinga hi, a rhostia, fel y gallot eu gwneud yn bowdr, a dodi'r powdr i gyd i'r claf i'w yfed mewn Gwin Gwyn.

6. Y mae Bustl Ysgyfarnog wedi ei grasu, a'i wneud yn bowdr, a dodi *dram* o hono i ddyn o lawn faintioli, a hanner i blentyn, yn dda.

7. Cais Falwod Llwydion, (heb gregyn) crasa hwynt mewn ffwrn, a gwna hwynt yn bowdr, dod *ddram* o'r powdr hwn i'r claf, da yw.

8. Cais Hadau Meillion Cochion, a berwa hwynt yn dda mewn Gwin Gwyn, dod i'r claf i'w yfed foreu a hwyr am dri diwrnod, gwedi hyny dod iddo un *dram* o bowdr Sinsir, gwedi sefyll mewn Finigar: rhaid i'r claf gadw ei hun yn dwym

9. Cais Bubyr, a briwa hwy'n fân, a Had Persli gwedi eu pwnio, yr un faint o bob un, ag ychydig o Fêl, a chymmeryd llwyaid o hono, nos a boreu, ddwy awr o flaen bwyd.

10. Cais flaenau Dail Derw, a berwa hwy mewn Gwin Gwyn, a phwnia hwy yn dda, gan eu dodi yn blastr wrth y dirgel le, fe'i hattal.

11. Cais Dafodau Gwyddau rhostia hwy ar farwor, doda dri thafod ar y tro i'r claf i'w fwytta; neu cais Ymenydd Eryr, ychydig o hono, a chymmaint arall o Saim Gwydd, yr un faint o *Gum Arabick*, gan eu cymmysgu a'u dodi i'r claf.

*Cyngorion rhag Chwydd mewn Cerig Dyn.*

1. Y peth sy'n peru'r clefyd hwn yw, bod yr wmwr yn cwympo i lawr i wythieuau'r dirgel, yn fynycha, neu wynt yn crynhoi iddynt o achos oerfel.

2. Cais Gàn wedi ei wneuthur o ffa, a sudd Ysgaw Mair, ac ychydig o Olew, a chymmysgu'r olew a'r sudd am ben y càn, o drwch y plastr, a'i ddodi wrth y cŵd, fe dyna'r chwydd.

3. Y mae plastr wedi ei wneud o risgl Pren Ysgaw, neu Ysgaw Mair a Bloneg, yn dda at yr un achos.

4. Y mae Dom Geifr gwedi ei gymmysgu â Gwin Gwyn yn dda iawn i faddo'r cŵd ag ef

5. Y mae *Margeri* gwedi ei ferwi mewn Gwin Gwyn yn dda i faddo'r cŵd âg ef.

6. Y mae Briw'r March, neu Gas gan Gythraul, a Dail Llydan y Ffordd wedi eu berwi mewn Gwin Gwyn, yn dda i faddo yr un modd.

7. Cais Flodau Gamil, a Dail Rhosys, yr un faint o bob un, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn nes byddont yn bowltis, a'i ddodi yn dwym wrth y lle tost, fe ostwng y chwydd.

8. Cais y llysiau hyn, Cribau Sant Ffraid, Gwlydd Mair, neu Lysiau'r Cryman, Llwyd y Cwn, Cnau'r Ddaear, yr un faint o bob un, a'u berwi mewn dwr nes y lleiha'r drydydd ran o hono, yna dod bedair wns o hono iddynt ar y tro.

*Cyngorion i wella doluriau a fyddont mewn Gwialen dyn.*

1. Berwa sypyn o'r Fedwen y Chwerw mewn Gwin Gwyn, a dod beth o hono yn fynych yn y wialen.

2. Os bydd chwydd yn y wialen, eneinia hi yn fynych ag Olew Rhosys.

3. Y mae sudd Dail Llydan y Ffordd yn bur dda at yr unrhyw.

4. Y mae Llaeth Gafr, neu Laeth Asen wedi ei ferwi, a thu a'r un faint o sudd Dail Llydan y Ffordd, a thynu'r anmhuredd oddi ar ei wyneb, nes byddo wedi gloywi, yna cymmerwch lwyaid o hono nos, a boreu; y mae hefyd yn dda i wella'r arenau, a'r bledren.

5. Cais Ddail Llydan y Ffordd, Traeturiaid y Bugeilydd, Dail Briallu, Dail Llygad y Dydd, sych hwynt fel y gallot eu gwneud yn bowdr, a chymmer un *dram* o hono mewn Gwin Gwyn, dair gwaith yn y dydd.

6. Cais Arenau Dafad, a rhostia hwynt, a chadw'r brasder a ddaw o honynt, cymmysga ychydig Halen âg ef, gwedi ei bowdro yn fân, yna eneinia'r man dolurus âg ef.

7. Da yw gollwng peth gwaed ar y claf, ac eneinio'r wialen âg Alws.

8. Cais Ddail Afan, Cribau Sant Ffraid, Suraren Godog, a'r Bengaled, a Dwr Rhosys, a Gwin Gwyn, berwa'r llysiau yn y ddau olaf, a dod hwynt yn blastr wrth y wialen.

*Cyngorion i wella'r Clefyd Melyn.*

ACHOS.—Yr achos o'r clefyd hwn ydyw, fod rhedwelyau'r bustl yn cael eu hattal, ac yna y mae yn cymmysgu â'r gwaed.

1. Cais Afal, a thor ymaith ei ben, a thyn ei galon allan, wedi hyny dod ynddo un *dram* o bowdr Turmeirch, a deg o ronynau o Saphrwm, dod y top yn ol, a dod yr afal i rostio wrth dân araf, yna cymmysga ychydig o fenyn âg ef, a chymmer ef y nos cyn myned i'r gwely, am dair neu bedair noswaith.

2. Dywedir fod llyngcu llau yn fyw, mewn rhyw beth neu gilydd, yn feddyginiaeth rhagorol rhag y clefyd melyn.

3. Dywedir fod sudd Llwyd y Cwn, a dwr dyn ei hunan, yn bur dda i'w yfed rhag y clefyd hwn.

4. Y mae Ifori gwedi ei losgi, a'i bowdro, a chymmeryd ychydig o hono mewn Gwin Gwyn, yn dda iawn rhag y clefyd melyn, ac i wella'r afu.

5. Ceisiwch Sudd Camil, a dodwch un lwyaid i'r claf o hono bob boreu, a phob nos wrth fyned i'r gwely, dywedir fod y cyngor hwn yn anffaeledig.

7. Ceisiwch Wreiddiau Cyngaw, a chrafwch hwynt yn lân, berwch hwynt mewn pedwar chwart o Ddiod Newydd, gadewch iddo aros dros bedair awr ar hugain, yna rhoddwch beint i'r claf foreu a hwyr, ac efe a fydd iach mewn tridiau.

8. Berwch Hâd Cywarch mewn Hen Ddiod, yna hidlwch, ac yfed y claf y ddiod, a bydd iach yn fuan.

9. Ceisiwch Risglyn isaf y Pren Melyn, a Gwreiddiau Llym y Llygad, wedi eu crafu yn lân, berwch hwynt mewn chwart o Win Gwyn, ac yfed y claf hanner peint ar y tro, y mae yn dda rhagorol.

10. Cais Ysgall-y-Môch, a Llym-y-llygaid, dwy wns o bob un; tair wns o Fefus, un wns o Lwyd-y Cŵn, un wns o Sena; berwa y rhai hyn mewn tri pheint o Win Gwyn, nes iddo leihau i'r hanner; ac o hwn cymmer hanner peint nos a boreu.

11. Cais chwech cant o'r pryfaid a elwir Moch y Coed, a dau ddyrnaid o Dom Dafad newydd ei domi, ysiga'r pryfaid yn dda, a chwal y dom, yna rho hwy y'ngwlych dros nos, mewn dau chwart o gwrw da; yr ail ddydd gloywa'r ddiod, a chymmer hanner peint o honi yn y boreu cyn bwyta, a'r nos wrth fyned i'r gwely. D. S. Gwellhaodd y cynghor hwn lawer.

12. Cais Eiddiorwg pan fyddo arnynt flodeu, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, a dod wydraid i'r claf i'w yfed am saith boreu o'r bron; neu cais y llysiau a elwir Sawdl Crist: gwna yr un fath â'r rhai hyn, atebant yr un diben.

13. Cais hâd y Gramandi, a Wermod, yr un faint, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, dod ynddynt ychydig o Siwgr i'w melysu, a chymmered y claf tua phedair wns o'r trwyth ar y tro, ac efe a wnaiff les mawr iddo.

14. Cais Winwynyn Gwyn mawr, a thor ei dop ymaith, tyn ei ganol allan, dod gymmaint a chneuen ffrengig o dreiagl wedi ei gymmysgu â hanner wns o saffrwm; dod yn agos i'r tân dros noswaith, fel y gallo rostio ychydig, dod ef mewn lliain, a gwasga'r lliain mor galed nes gyrru'r sudd allan o hono, a chymmered y claf y sudd am dri boreu.

15. Cais Dafod yr Hydd, crasa ef, fel y gallot ei wneud yn bowdr, a chymmer wns a hanner o'r powdr hwn ar y tro, mewn gwin gwyn, bob boreu am ugain niwrnod.

16. Cais sopyn o'r llysiau a elwir y Fel Arian, dod hwy i sefyll mewn gwin gwyn, dros dri neu bedwar diwrnod, yna cymmered y claf ychydig o hono bob boreu tra peru ei anhwyldeb. Y mae'n dda iawn i wella pob anmhuredd o'r afu, yr achos dechreuol o'r clefyd hwn yn fynych.

## *Cyngorion i Ladd Llyngyr.*

1. Cais Arlleg, a bwyta hwynt gyda bara ac ymenyn; neu berwa hwynt mewn llaeth, a'i yfed, y mae yn dda rhagorol.

2. Cais Hadau Wermod, a briwia hwy'n bowdr mân, cymmysga hwy gyda sudd y Llwyn Cottymog, cymmer lwyaid o hono, ac fe a'u difetha hwynt oll.

3. Cais Arlleg, a Wermod, a Mintys Mair, pwnia hwynt yn fân, a phoetha hwynt yn dda gyda Bustl Eidion a Finigar; dod ef yn blastr wrth dy fogail, a thi gei wared o'r llyngyr.

4. Cais Fustl-Tarw, a phoetha ef; dod ynddo dwsw o wlân, a dod y gwlan wrth dy fogail mor boethed ag y gallot ei oddef.

5. Cais Afal Euraid, tyn ei groen ymaith, a chrasa fe'n dda, fel y gallot ei wneud yn bowdr; cymmysga'r powdr âg ychydig Fêl: yna cymmer ef ar ben boreu, da ydyw.

6. Cais Fintys y Gâth, berwa ddyrnaid o honynt mewn tri pheint o ddwfr, nes y byddo wedi lleihau i'r hanner, dod ynddo ddwy lwyaid o Fêl, ac un o Halen; cymmysga ef, yna yf beint o hono bob boreu.

7. Os bydd un yn cael ei flino gan Lyngyr yn ei ystymog, dalied ddernyn o Gwybr Gwenyn yn ei enau, a daw'r Llyngyr hyd ato.

8. Cais Wreiddiau'r Marchalan, glanha hwy yn dda, yna berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, ac yf wydraid o hono ar y tro; neu, cymmer Sudd y Gwreiddiau gydag ychydig o Fêl, ac fe etyb yr un diben.

9. Cais Wreiddiau Rhedyn, berwa hwynt mewn Dwr a Mêl, hwy a laddant bob math o Lyngyr.

10. Cais Hadau Hopus, a phowdra hwynt yn fân, a chymmer wns o'r powdr mewn rhyw wlybaniaeth, ac fe'i lladd oll.

11. Y mae Sudd Rhuddygl y Meirch wedi ei gymmysgu â Siwgr, yn dda i ladd Llyngyr ar blant.

12. Cais Afal-melyn-hir, (*Lemon*) hollta fe trwy ei ganol, a phwnia'r naill hanner o hono gyda rhan helaeth o Fustl Ych, nes y bo'n dyner fel Uwd; cymmysga fe'n dda, a dod ef wrth dy fogail pan y byddot yn myned i'r gwely; ac oni wna hyn les y tro cyntaf, dod ef am dair noswaith, yn olynol, yr un modd.

*Cyngorion rhag y Ddueg.* (Spleen.)

1. Cais Risgl y Pren Collen, a berwa fe mewn Gwin Gwyn, ac yf lwnc o hono yn y boreu.
2. Cais Dom Geifr, Finigar, a Gwer Manllwyn, cymmysga hwynt y'nghyd, a gwna blastr o honynt; dod ef wrth dy ochr aswy, o herwydd hon yw'r ochr y mae'r poen yn dueddol o fod; newidia y plastr yn fynych.
3. Cais Dafod yr Hydd, berwa fe mewn Gwin Gwyn, ac yf wydraid o hono dros ddeg boreu ar hugain.
4. Cais Ddail Helyg, ac os na fydd yn amser o'r flwyddyn i'w cael, cais y Rhisglyn Isaf, pwnia fe yn dda yn gymmysg â Halen, a gwna blastr o hono, a dod ef wrth dy ochr aswy.
5. Cais Lysiau'r Driw, Tafod yr Hydd, Dail Helyg, a Dail Sorwg, berwa y rhai'n ynghyd mewn Dwr a Mêl, a chymmer hanner peint ar y tro.
6. Mae Cig Llwynog wedi ei wneud yn bowdr, a'i gymmeryd gyda rhyw wlybaniaeth, yn dda.
7. Cais Brymllys, y Treflys, Llysiau'r Coludd, a Llysiau'r Pwding, pwnia hwynt yn nghymmysg â Halen, a gwna blastr o honynt, a dod ef wrth y màn poenus.
8. Cais Grychydd Cam, poba efe, a chadw ei Saim; a chais Winwyn y Môr, pwnia ychydig arnynt, a dod hwynt mewn Finigar dros bedwar diwrnod, ac ar ol hyny tyn hwynt allan, a chymmysga y Saim â'r Finigar, ac eneinnia dy ochr âg ef.
9. Cais Sudd Syfi, cymmysga ychydig Fêl a

Phubyr Gwynion âg ef, a chymmer hanner wns o hono dros naw neu ddeg boreu.

10. Cais Wreiddyn y Marchalan, cymmer un *dram* o hono mewn Hên Win.

11. Mae Ysgyfaint neu Afu Llwynog wedi eu pobi, a'u gwneuthur yn bowdr, a chymmeryd un *dram* o hono gyda Gwin Gwin, yn dda.

12. Cais Sudd Hoccys, a Mintys y Gâth, cadw ddau wns o'u Sudd; dau *ddram* o Ddail Sena wedi eu powdro; a dau wns o Fêl wedi ei ferwi; cymmysg rhai'n yn dda gyda'u gilydd, a chymmer lonaid llwy bewtr bob tair awr cyn y byddi yn bwyta, dros ddau neu dri diwrnod: y mae hwn yn dda rhagorol.

*Cyngorion i Wella'r Dyfrglwyf.* (Dropsy.)

1. Cais Lysiau'r Traeturiaid y Bugeilydd, berwa hwynt mewn dwr ffynon, ac yf y dwr a fyddo oddi wrthynt.

2. Cais Ddail Llydan y Ffordd, pwnia oddeutu hanner dyrnaid o honynt, a thua hanner dyrnaid o Flawd Haidd, a hanner peint o Finigar; cymmysg rhai'n yn dda, a dod hwynt yn blastr wrth y chwydd.

3. Gwasg Dri Chwart o Sudd allan o Ddail Llydan y Ffordd, dod y Sudd mewn llestr pridd, a rho liain ar ben y llestr, a dod ef i ferwi ar dân araf, nes ei fod wedi difrodi i'r hanner, ac ar ol iddo ferwi felly, hidla fe trwy liain, a gâd iddo oeri, a chymmered y claf dair neu bedair llonaid llwy bob boreu, yn wâg.

4. Mae Gwaed Geifr wedi ei grasu ar dân, a'i wneyd yn bowdr, a chymmeryd un *dram* o hono yn nghymmysg â Gwin Gwyn, yn dda iawn.

5. Cais Risgl Gwreiddyn y Pren Ysgaw, berwa fe mewn dwr ffynon, a rho'r dwr hwn i'r claf i yfed bob amser pan y byddo syched arno. Y mae Gwreiddyn Ysgaw Mair yn well, os gelli gael gafael ynddo; neu, os methu gael Rhisgl y Gwreiddyn, fe wnaiff Rhisgl y Brigau, a'i ferwi yr un modd ag uchod.

6. Cais un *Dram* o Bowdr Hâd Mwstardd, a chymmer ef gydag ychydig Win, yn y boreu.

7. Y mae Isop wedi ei ferwi mewn Gwin, ac yfed gwydraid o hono yn y boreu, yn dda.

8. Cais Bustl y Ffordd fawr, ac eneinia y claf âg ef.

9. Y mae Llysiau Twrch, a Bloneg y Ddaear, wedi eu berwi mewn dwr, ac i'r claf yfed y dwr, fel y bo ei syched, yn dda iawn.

10. Cais Sudd Gwaed y Gwyr, cymmysg ef â Gwin Gwyn.

11. Cais Môr-lwyau, a Llysiau'r Llwy, pwnia hwynt yn dda, a berwa hwy mewn dwr ffynon, ac yf y dwr wrth dy syched.

12. Cais Berwr y Dwr, berwa ef mewn dwr, ac yf y dwr wrth dy syched.

13. Cais hanner wns o Sudd Cnau ieuainc; hanner wns o Sudd Tansi Gwyllt, tair *dram* o Sudd Riw, tair wns o Sudd Isop, a phedair wns o Sudd Cowarch, cymmysg rhai'n ym mhen eu gilydd, a chymmer hanner wns ar y tro.

14. Ceisiwch un pwys o Dom Gafr wedi ei sychu, dwy *ddram* o Dafod yr Ehedydd, a dwy wns o Wreiddiau Chwerwddwr, a Chedor y Wrach, ac un pwys o Flawd Haidd. Pwniwch y Llysiau a'r Gwreiddiau, a berwch hwynt gyda'r Dom a'r Blawd, mewn dwr ag y mae haiarn wedi bod ynddo, a gwnewch blastr o honynt, dodwch ef wrth fola'r claf.

### *Cyngorion i Wella'r Parlys.*

1. Y mae Sadas yn dda i'w bwyta, neu yfed eu tê, i wella'r un a fydd y Parlys yn ei aelodau.

2. Cais Had Caraway, Had Anis, Had Persli, Had Cnau'r Ddaear, a Had Fenigl, a'r Llysiau hyn:—Cribau St. Ffraid, Tafod yr Ehedydd, Mintys y Gath, ac Isop, a'r Falerian, yr hon sydd wedi ei gwneuthur o Bubyr, Sinocr, Sadas, Llygad Eglur, ychydig Lertysg, a Saffrwm, gwna y Cyffeir-

iad hwn i gyd yn bowdr, a chymmer ychydig o hono yn gyson ar ol bwyta dy bryd bwyd.

*Cyngorion rhag yr Eisglwyf.* (Pleurisy.)

1. Y mae yn rhaid i'r claf ofalu na fwytao un math o gig, neu yfed un diodydd cadarn, ond pethau oerion, fel y rhai canlynol:—Dwr Haidd a Chawl Dwr, ac yfed rhai'n yn wastadol pan y bo syched arno. Hefyd, y mae yn angenrheidiol i'r claf i waedi ei hun yn fynych.

2. Ceisiwch Ddwr Gardws, llonaid llwy o Win Gwyn, a Gwyn chwech Wy, cymmysgwch y rhai hyn gyda'u gilydd, gwlychwch liain yn y cymmysgiad, a dodwch ef wrth ochr ddolurus y claf.

3. Ceisiwch Afal, tynwch ymaith ei ben a'i galon, a rhoddwch ynddo fel y rhagddywedwyd yn y cyngor am y Clefyd Melyn; ond, ychwanegwch un dram a hanner o Ystor.

4. Mae Llysiau'r Angel wedi eu berwi mewn Gwin Gwyn, ac i'r claf yfed o ddeutu gwydraid ar y tro, yn bur dda.

5. Ceisiwch Lysiau Cadwgan, gwasgwch allan eu Sudd, a baddwch y man dolurus âg ef, mor boethed ag y gallwch ei ddioddef; ac yna yfwch rhyw ychydig o hono.

6. Ceisiwch Flodau Poppi Coch, gadewch iddynt sychu yn yr haul, fel y galloch eu gwneuthur yn bowdr, a chymmered y claf ychydig o'r powdr yn ei fwyd bob tro.

7. Ceisiwch Ddail Danadl Poethion, Hocys, a Gamil, dau ddyrnaid o bob un, dwy *ddram* o Fyrr, ac un *dram* a hanner o Armoniac, a berwch hwynt i gyd mewn Dwr a Finigar, yr un faint o bob un, ac eistedded y claf uwch ben yr anwedd pan y byddo mor boethed ag y gallo ei ddioddef.

8. Ceisiwch un wns o Dom Ci, un wns o Dafod yr Ehedydd, ac o Saim Gŵydd neu Iâr, dwy wns, ac o Sudd Cawl Gwyllt, gymmaint a fydd yn angenrheidiol ei wneuthur yn blastr, a thaenwch

y plastr ar Ddail y Cawl Gwyllt, a dodwch ef wrth y man poenus.

9. Ceisiwch ddau ddyrnaid o Ddail Hocys Gwylltion, berwch hwynt mewn Olew, pwniwch hwy yn dda ar ol iddynt ferwi, a gosodwch hwynt ar liain, a dodwch ef wrth y man dolurus.

10. Pan y bo dolur yn eich ochr, y mae yn ofynol i chwi ollwng gwaed, ac i barhau felly yn feunyddiol; ac i ofalu fod eich corff yn rhydd, trwy gymeryd rhyw feddyginiaeth ryddhaol neu *glyster*.

11. Ceisiwch bedair wns o Hocys Gwylltion, pwniwch hwynt yn dda, a chymmysgwch un wns o Fenyn, ac un wns a hanner o Fêl â hwynt, dodwch hwy yn blastr wrth ochr y claf, mor boethed ag y gall ei ddioddef.

12. Ceisiwch wns a hanner o Elestr Gwyn, hanner wns o Saim Gŵydd neu Iâr, hanner wns o Fenyn heb Halen; tair *dram* o Wreiddiau Hocys, tair *dram* o Wreiddiau Mintys y Gath, tair *dram* o Wreiddiau Marchalan, a hanner *dram* o Saffrwm, pwniwch y rhai hyn i gyd gyda'u gilydd nes eu bod yn enaint, ac eneiniwch y man poenus âg ef

*Gyngorion at Wella Clwyf y Marchogion.* (Piles)

1. Cais Lysiau Pengaled, berwa hwynt mewn dwr, ac eistedda uwch ben yr anwedd mor boethed ag y gallot ei ddioddef.

2. Cais Lysiau Penllwyd, neu Filfyw, Menyn heb halen, a Bloneg a Gwêr Maharen heb halen, yr un faint o'r tri, a berwa'r Llysiau ynddynt, a hidla ef trwy liain, gad iddo oeri, ac ar ol hyny, eneinia y man poenus âg ef.

3. Cais Dop y Pren Ysgaw, berwa ef mewn Gwin Gwyn, a golch y man poenus âg ef.

4. Cais Ddail Troed yr Ebol, Blodau y Pren Ysgaw, a Chedor y Wrach, yr un faint o bob un, yna gwasga'r sudd allan o honynt, gwlych liain yn y sudd, a dod ef wrth y man dolurus.

5. Cais Wreiddiau a Dail Pidyn y Gôg, berwa

hwynt mewn Gwin Gwyn acychydig Olew, eneinia dy hun âg ef.

6. Mae Sudd y Berthlys, aç Olew Rhosys Cochion, yn dda iawn i eneinio y man poenus.

7. Cais Ddail Llydan y Ffordd, Rhisglyn Glâs yr Ysgaw, a Llygad y Diniweid, berwa hwynt mewn Ymenyn a Gwer Maharen heb halen; hidla y rhai hyn trwy liain, ac felly bydd gyda thi enaint da i wella dy hun.

8. Cais Floneg Ir, heb halen, a rhwbia ef rhwng dau bwys plwm, nes ei fod yn ddulas, yna eneinia y man âg ef, ar ol i ti ollwng deg neu ddeuddeg wns o'th waed.

9. Y mae Winwyn a Chenin wedi eu pobi dan lydw, a'u cymmysgu âg Olew Rhosys ac ychydig Saffrwm, yn dda.

10. Cais Rhôs Mair, a bwyta ychydig o hono, nos a boreu, y'nhyd â'r pethau uchod.

11. Cais Frwmstan byw, pwnia ef yn fân, a chymmysg ychydig Siwgr âg ef, i'w wneyd yn flasus, a chymmer hanner *dram* o hono unwaith neu ddwy y dydd.

12. Cais Genin o'r ddaear, tor ymaith eu dail, a phwnia eu penau, a chais Ddwr Blawd Ceirch, gwna Gawl tew o honynt, gan eu berwi mor feddal âg y gallot, yna yf hwn beunydd, ac ychydig o Fenyn ynddo, heb halen.

13. Cais Gyngron bychan, y'nghyd â'u Flodau, berwa ef mewn Bloneg, nes ei fod yn wyrdd, ac fel enaint; ac wrth iro'r clwyf âg ef, cymmysg ynddo ychydig o Wyn Wy.

14. Cais Gregin Wystrys, llosg hwy mewn llestr pridd, nes eu bod yn bowdr, a chymmysg Fêl âg ef nes ei fod yn enaint, ac yna eneinia y man poenus.

15. Cais ddwy wns o'r Llysiau canlynol:—Milddail, Llysiau'r Gwaedling, y Wilffroi, Melin y Gwanwyn, y Filfyw, Llysiau'r Bronau, y Berthlys, Dail Llydan y Ffordd, Rhisglyn glâs yr Ysgaw, y Bengaled, Dail Troed yr Ebol, Cedor y

Wrach, a Phidyn y Gôg; Bloneg Ir heb halen, Gwer Maharen, Ymenyn newydd ei gorddi, a pheint o Win Gwyn, a chymmysg y Cyffeiriad hwn gyda'u gilydd, a berwa ef ar dân araf; ac ar ol iddo ferwi, hidla ef trwy lliain, yna bydd gyda ti enaint rhagorol at eneinio y man dolurus.

*Cyngorion at Laesu Chwydd yn mhob man ar Gorph Dyn.*

1. Os bydd Chwydd yn dy Arddwrn, cais Ddail Llydan y Ffordd, a phwnia hwy yn dda am ben halen.

2. Cais Gnau Ffrengig a fo tuag hanner addfed; ac i'r diben iti i'w cael trwy'r flwyddyn, casgla ddigon o honynt yn yr amser y byddont i'w cael, a chyffeithia hwy mewn Finigar, a thrwy hyny, hwy fyddant at dy wasanaeth yn wastadol; pwnia y Cnau yn dda yng nghymmysg ag ychydig Riw, a gwna blastr, a dod ef wrth dy fogail, os bydd y chwydd yn dy fola; neu, mewn un man arall o'th gorff a fo'n angenrheidiol am dano.

3. Os bydd chwydd mewn un o'th aelodau, o herwydd asgwrn wedi tori, badda yr aelod dolurus â dwr twymn a fyddo wedi berwi danadl ynddo.

4. Cais ddau ddyrnaid o Goluddlys, berwa hwynt mewn cwart o gwrw, nes y byddont yn dyner, a gwlych Glwtyn ynddo, a dod ef mor boethed ag y gallot ei oddef wrth y man poenus, a pharha wneuthur hyn yn fynych yn y dydd, cei deimlo effaith maw roddi wrtho.

5. Blodau Gamamil, a dail Rhosys, yr un faint o bob un, berwa hwy mewn Gwin Gwyn, nes y byddont yn bowltus, a dod hwn wrth y chwydd mor boethed ag y gallot ei oddef.

6. Cais Greulys Fenyw, Llychlyn y Dwr, Llysiau Taliesin, Meddygyn, a Hocys, gofala i gael ond dyrnaid o'r llysiau hyn; pwnia hwy yn dda, a berwa hwynt mewn dwr, a dod ychydig o Flawd Haidd ynddo, i gael ei wneud yn bowltus, a dod

ychydig o Wêr Maharen arno, i'r dyben i'w gadw yn dyner, a dod ef wrth y man poenus mor boethed âg y gallot ei oddef.

7. Cais ddau ddyrnaid o'r Ddanadlen Ddall, pwnia ef am ben Halen, Finigar, a Bloneg Mochyn, a rho hwynt yn blastr wrth y chwydd.

8. Cymmer Gwlydd Mair, Llysiau'r Cryman, a Gwlyddlwyn, ffria hwy ar dân mewn padell, a rho Finigar ac Ymenyn gyda hwynt, a dod ef yn bwltys wrth y chwydd.

9. Cais Bresych Bengron, berwa lawer o honynt mewn dwr, a badda y man poenus â hwy.

10. Mae Gamamil wedi ei ferwi mewn lleisw, ac i ti faddo dy chwydd âg ef, yn dda iawn.

11. Gwasg y Sudd allan o Ddail Troed yr Ebol, Dail Ysgaw, a Chedor y Wrach, gwlych liain yn y Sudd, a dod ef wrth y chwydd.

12. Cais Lygaid y Dydd, pwnia hwy yn dda, a dod hwynt yn bwltys wrth dy chwydd.

13. Y mae y Wenynllys wedi eu berwi, ac i ddyn yfed y dwr oddi wrthynt, wrth ei syched, yn dda iawn i leihau y chwydd yn unrhyw fan o'r corff.

14. Cais y Glaswenwyn, berwa hwynt mewn Dwr Rhosys a Mêl, ac os bydd y chwydd yn dy wddf, eneinia ef â'r enaint.

15. Cais Wreiddiau Elestr Gwyn, pwnia hwy yn dda, a berwa hwynt mewn Bloneg dros hir amser, fel y gallont ferwi eu ffrwyth allan, ac ar ol hyny, hidla hwy trwy liain, felly bydd gyda thi enaint da i eneinio unrhyw fan o'th gorff.

16. Os bydd chwydd yn unrhyw fan o'th gorff ar ol i Wenynen dy bigo, cais Ddail Hocys, a rhwbia hwy yn y chwydd nes y byddo eu Sudd yn dyfod allan, fe dyn ymaith y cochni, ac fe laesa'r chwydd.

17. Cais ddau ddyrnaid o'r Rhuddos, gwasg eu Sudd allan, a chymmysg ef â Finigar, yna badda y man poenus âg ef.

18. Cais Lysiau y Gwrda, pwnia hwynt, a dod

hwy fel pwltys wrth y chwydd; fe brofwyd y cyngor hwn yn dda rhagorol.

19. Cais Suran y Gôg, Suran y Coed, Suran tair Dalen, a Thriagl y tair Dalen, gwasg allan eu Sudd, gwlych liain ynddo, a dod ef wrth y chwydd.

20. Cais Deim y Gerddi, pwnia hwynt yn dda, a gosod hwy i ferwi mewn Bloneg a Gwêr Maharen, nes eu bod yn enaint, yna eneinia y man poenus âg ef.

21. Cais Flodau Meillion Gwynion, berwa hwy mewn dwr nes y byddont yn bwltys, a dod ynddo ychydig olew, a gosod ef ar y man poenus.

22. Cais y Grynllys, Meddygyn, a Llysiau'r Drindod, berwa y Dail a'r Blodau mewn Dwr a Gwin, ac yfa ef yn fynych. Hefyd, gwna bwltys o'r Dail a'r Blodau, a dod ef ar y chwydd.

23. Cais Dom Gafr, Blawd Haidd, Finigar, a Dwr, gwna bwltys o honynt, a dod ef wrth y chwydd. Newidia y pwltys yn fynych.

24. Cais Ddail a Gwreiddiau Rhisgl y Moch, pwnia hwy, a berwa hwynt mewn Finigar, badda y chwydd âg ef, a rho'r Dail a'r Gwreiddiau yn bwltys wrth y man poenus.

25. Os bydd dy Fraich wedi chwyddo ar ol ei gwaedu, cais Bloneg y Ddaear, pwnia hwy, a chymmysg ychydig o Gan Gwenith, Mêl, a Llaeth â hwy, ac ar ol i ti eu twymno, dod hwy yn bwltys wrth y man poenus.

26. Os bydd chwydd yn dy Goesau, cais Ddail Llydan y Ffordd, Finigar, a Blawd Haidd, cymmysg y rhai hyn yn dda gyda'u gilydd, a dod hwy yn bwltys wrth y man poenus.

27. Os bydd chwydd yn dy gliniau a'th goesau, cais yr un faint o'r Llysiau canlynol:—Cribau Sant Ffraid, Hocys y Cŵn, Gwreiddiau Ffenigl, Gwlydd Mair, a Chnau'r Ddaear, berwa hwynt mewn dwr ffynon, nes y byddont wedi difrodi i'r drydydd ran, ac ar ol hyny, hidla hwy trwy liain, a dod gymmaint o Fêl ag a fyddo yn anghenrheidiol ynddo,

i'r dyben i'w felysu, a chymmer bedair wns o hono yn feunyddiol.

28. Cais lawer o Afalau Surion, gwasg eu Sudd, a da iawn yw i faddo unrhyw chwydd a fyddi wedi gael trwy gwymp neu ergyd.

29. Mae Erfin wedi eu berwi, a'u gwneuthur yn bwltys, yn dda i laesu chwydd.

*Cyngorion at Wella Cnoad Cì Cynddeiriog.*

1. Cais Ddail Llysiau'r Angel a Dail Rhiw, pwnia hwy yn dda, a chymmysg ychydig Fêl gyda hwynt, a dod hwy yn blastr wrth y man poenus. Ac yfa Win a fyddo Dail Llysiau'r Angel wedi bod ynddo.

2. Cais Briw'r March, berwa hwynt mewn dwr, ac yf y dwr a fydd oddiwrthynt nes y bo y Lleuad yn newid, a pharha ei yfed hyd ei llawn canlynol.

3. Cymmer hyn o addysg, pob creadur a gaiff ei gnoi cyn i'r Lleuad newid, efe a aiff yn ddrwg erbyn y llanwad nesaf, os na chymmer ryw beth at ei wellhad; a phob creadur a gaiff ei gnoi pan y bo y Lleuad yn llawn, efe a aiff yn ddrwg erbyn y blaen Lleuad canlynol, os na chymmer ryw feddyginiaeth yn atalfa iddo.

4. Cais Gas gan Gythraul, Troed y Dryw, a Dail Llydan y Ffordd, yr un faint o bob un a'r llall, pwnia ychydig arnynt, a berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, ac yf lwnc o hono bob boreu yn gyson. Hefyd, cymmysg ychydig o Halen Llwyd gyda'r Llysiau, a rho hwy yn blastr wrth y clwyf..

5. Mor fuan ag y dealli dy fod wedi cael dy gnoi gan rhyw greadur cynddeiriog, cais Ddail y Ffigysbren, a gwasg eu sudd dair neu bedair gwaith i'r cnawd; os na fydd yn amser o'r flwyddyn i gael y Dail, cais y Rhisgl nesaf at y pren, a gwna yr un modd ag ef ag uchod, neu ei friwio yn fân a'i ddodi wrth y clwyf.

6. Cymmysg Fwstard a Finigar gyda'u gilydd, a dod hwy yn blastr wrth y clwyf.

7. Cais Ddail Bôm, a rhodda hwy i sefyll mewn Gwin, yf y gwin, a dod y Dail wrth y clwyf.

8. Cais Lysiau Saint Ffraid, pwnia beth arnynt, a berwa hwy mewn Gwin gwyn, ac yf y gwin, a rhodda y Llysiau wrth y clwyf.

9. Y mae Garlleg wedi eu berwi mewn Llaeth, ac i ti yfed y Llaeth, a rhoddi'r Garlleg wrth y clwyf, yn dda rhagorol.

10. Cais Spearmint, cymmysg hwy a Halen, a dod hwynt wrth y clwyf.

11. Cais Ddanadl Poethion, gwna hwy yn bowdr, a chymmer ddau *ddram* o'r powdr gyda Gwin gwyn.

12. Cais Winwyn, Rhiw, a Mêl, cymmysg hwy am ben eu gilydd, a dod hwynt yn blastr wrth y clwyf.

13. Cais Ddail Ffigys, Blodau Gamamil, a Garlleg, yr un faint o bob un a'r llall, pwnia hwynt yn dda, a dod hwynt yn Blastr wrth y clwyf; ac yf Ddwr y Môr.

14. Cais gwart o Gwrw cryf, un *dram* o Driagl, dyrnaid o Riw, a Llwyaid o grafion Alcan, (*Tin*), berwa y rhai hyn gyda'u gilydd nes y difrodant i'r hanner, a chymmer lonaid llwy o hono y boreu; y mae y cyngor hwn yn dda i ddyn ac anifail.

*Cyngorion rhag y Dolur Rhydd.*

1. Cais ddau ddyrnaid o Lysiau y Cawl, berwa hwynt mewn dau Gwart o Ddwr y Ffynon, nes y byddont wedi difrodi i'r hanner, o chymmysg ychydig o Siwgr Gwyn gyda hwy, i'r dyben i'w melysu, ac yf hanner peint o hono ar y tro.

2. Cais ychydig o Haidd, a chroen Afal gronynog, a berwa hwynt mewn Gwin coch, ac yf o ddeutu hanner peint o hono boreu a hwyr.

3. Y mae Dail Llydan y Ffordd wedi eu berwi mewn Gwin coch, ac i'r claf yfed gwydraid o hono y boreu a hwyr, yn dda rhag bod yn rhydd, neu pan y byddo clefyd y Gwaed ar ddyn.

4. Cais y Gwyddlwyn, pwnia hwy nes y byddo

eu sudd yn dyfod allan o honynt, a chymmer lonaid llwy o hono mewn Gwin coch bob boreu.

5. Cais Wreiddiau Llwynhidydd, golch hwy yn lân, a berwa hwy mewn Llaeth, yna yf y Llaeth; y mae yn dda rhagorol i rwymo y corff.

6. Cais Llwyd y Ffordd, berwa hwy mewn Gwin coch, ac yf wydraid o hono foreu a hwyr; neu, crasa y Llysiau, a gwna bowdr o honynt, a chymmer un *dram* o hono gyda Gwin coch; da rhagorol yw pan y bo Clefyd y Gwaed ar ddyn neu ddynes, i rwymo eu cyrff.

7. Cais Wreiddiau y Gwaedlys, a Berwr yr Ieir, crasa hwy, a gwna hwynt yn bowdr, a chymmer un *dram* o hono gyda Gwin coch.

8. Cais Hâd Llysiau y chwain, Chwainlys, poba hwy, a chymmer beth o honynt gyda Gwin coch.

9. Y mae Sudd Tafod yr Hydd, ac i ti gymmeryd hanner llwyaid o hono mewn Gwin coch, foreu a hwyr, yn dda iawn.

10. Cais Hâd Cowarch, berwa hwy mewn Gwin coch, a chymmer wydraid o hono yn y boreu, a'r llall wrth dy fod yn myned i'r gwely yn yr hwyr.

11. Cais Briweg y Cerrig, Llysiau'r Muroedd, a Phupur y Fagwyr, pwnia y rhai hyn yn dda, a gwasg eu Sudd allan, a chymmer lonaid llwy bewtr o hono foreu a hwyr.

12. Cais Flodau Iorwg, crasa hwy yn dda, fel y gallot eu gwneuthur yn bowdr; a chymmer un *dram* o hono gyda Gwin coch, foreu a hwyr.

13. Cais y Fadfeleu, y mae y llysieuyn hwn yn dda rhagorol i attal y gwaed rhag rhedeg o'r geneu neu y trwyn, trwy gael ei Sudd; ac hefyd yn dda i attal y corff rhag bod yn rhydd.

14. Cais Sudd y Glymog, neu Canclwm, a chymmer o hono lwyaid gyda gwydraid o Win coch, ddwy waith yn y dydd.

15. Cais Glust y Llygoden, gwasg eu Sudd, a chymmer lwyaid o hono, gyda Gwin coch, ddwy waith yn y dydd.

16. Cais Wreiddiau y Dail Melfed, neu Sircyn y

Melinydd, Clust y Fuwch, Clust y Tarw, a Chanwyll yr Adar, crasa y rhai hyn, a gwna hwynt yn bowdr, a chymmer un *dram* o hono gyda Gwin coch.

17. Y mae berwi Rhisgl, Dail, a Thop y Derw, mewn Gwin coch, ac i ti yfed gwydraid o hono ddwywaith yn y dydd, yn dda iawn.

18. Cais Hadau Meillion Gwynion, briwia hwy yn fân, a chymmer hanner *dram* o honynt gyda Gwin gwyn dros dri boreu; ac os bydd gwellhâd i ti, efe a wella yn yr amser hwnnw, onite ni wna yn dragywydd.

19. Berwa Wyau mewn Finigar, nes y byddont yn galed, a bwyta hwy yn sychion.

20. Cais Laeth crai, Hâd Tafol, a Hâd Dail Llydan y Ffordd, berwa hwynt y'nghyd, hidla hwy trwy liain, a rho ddernyn o Ddûr ynddo ddwy neu dair gwaith, ac ychydig o sialc, yna yf ef yn dwym.

*Cyngorion at wella Clefyd y Gwaed.*

1. Cais Ffa cochion, berwa hwynt mewn Gwin coch, a bwyta hwy foreu a hwyr.

2. Cais un *dram* o bowdr Asgwrn Palfais Mochyn, a chymmer mewn Llaeth a fo wedi ei dewhau gyda Blawd Gwenith.

3. Cais Ddail Berwr, gwasg allan eu Dwr, a chymmer lonaid llwy o hono, hwyr a boreu.

4. Cais Hâd a Dail y Tansi Gwyllt, gwna hwy yn bowdr, a chymmer *dram* o hono gyda Gwin coch, foreu a hwyr.

5. Berwa Bôm mewn Gwin coch, ac yf wydraid o hono ddwy waith yn y dydd.

6. Cais Ddail y Ffigysbren, berwa hwynt mewn cwart o Win coch, hidla hwy trwy liain ar ol iddynt ferwi, a chymmer wydraid o hono yn y boreu, a'r llall wrth dy fod yn myned i'r gwely yn y nos.

7. Y mae Llysiau y Ferfllys, wedi gwasgu allan eu Sudd, a chymmeryd hanner llwyaid o hono foreu a hwyr, yn dda iawn.

8. Y mae Helyglys, wedi berwi eu Dail mewn Gwin coch, ac yfed peth o hono ddwy waith yn y dydd, yn dda rhagorol.

9. Cais Wreiddiau Tafol, golch hwy yn lân, a berwa hwynt mewn Gwin coch, neu Ddwr, ac yfed gwydraid o hono nos a boreu; neu cais bowdr Hâd Tafol, a chymmer un *dram* o hono gyda Gwin.

10. Cais Wreiddiau a Dail Mefus, berwa hwynt yn yr un faint o Win a Dwr, a chymmer hanner peint o hono nos a boreu.

11. Y mae Sialc a choesau Pibellau gwedi eu gwneuthur yn bowdr, ac i ti gymmeryd peth o hono mewn Gwin coch, yn dda iawn.

*Cyngorion at Wella'r Cryd, neu'r Ddyrton.*

1. Cais ddau ddyrnaid o Lysiau'r Dryw, berwa hwynt mewn Dwr Ffynnon, a hidla hwy trwy liain, a dod hanner peint o hono gyda Gwin gwyn, ac yf hwn ddwy waith y dydd.

2. Y mae Gwreiddyn neu Risglyn y Pren Melyn wedi ei ferwi mewn Gwin gwyn, ac i'r claf yfed hanner peint o'r Gwin, pan y byddo yn myned i grynu, yn dda.

3. Cais Frigau Danadl, gwasg y Sudd allan o honynt, a dod Siwgr ynddo i'w felysu, a chymmer dair wns o hono yn y boreu pan y byddi yn myned i grynu.

4. Pan y teimli trwy ryw arwydd fod y Cryd arnat, cymmer ddwy neu dair disglaid o *Goffee,* ac aros ychydig amser, a chymmer eilwaith yr un faint, a pharha i wneuthur felly dros ddau neu dri diwrnod, ac iach fyddi.

5. Cais Lysiau'r Llwynhidydd, crasa hwy fel y gallot eu gwneuthur yn bowdr, a chymmer ugain gronyn o hono mewn Gwin Gwyn.

6. Bydd cymmeryd dyrnaid o Dderwen Caersalem, wedi eu berwi mewn tri chwart o Gwrw, a'i osod ar y tân nes ei fod wedi lleihau i'r hanner, a

chymmer beint o hono, os byddi yn ddyn, neu, os plentyn, y mae hanner peint yn ddigon.

7. Cais ddyrnaid o'r Felenydd, gwasg y Sudd allan o hono, a chymmer lwyaid gyda gwydraid o Win Gwyn.

8. Cais Ddail a choed Hopus, gwasg y Sudd allan o honynt, a chymmysg ef gyda Siwgr Llwyd, a chymmer ddwy lwyaid o hono pan y byddi yn myned i grynu.

9. Cais Lysiau'r Friweg, gwasg allan eu Sudd a chymmysg ef â'r un faint o Fêl, a chymmer ddwy lwyaid o hono cyn y byddi yn myned i grynu.

10. Cais Ddail a Hadau'r Uchelwydd, berwa hwynt mewn Diod Newydd, hidla hwy trwy liain, a chymmer hanner peint ar y tro.

11. Cais Bersli'r Meirch, berwa hwynt mewn Diod Newydd, hidla hwy trwy liain, a chymmer hanner peint ar y tro.

12. Mae Dail a Gwreiddiau Hocys, wedi eu berwi mewn Dwr a Gwin, neu Gawl, âg ychydig Bersli ynddo, a'i hidlo trwy liain, a chymmeryd peint o hono ar y tro, yn dda rhagorol.

13. Mae Llysiau'r Gwrda, wedi eu berwi mewn cawl Cyw, a'i yfed yn y dydd, yn dda bob pryd

14. Mae berwi Hâd Mwstard mewn Gwin Gwyn, ac i'r claf yfed hanner peint o hono ar y tro, yn dda iawn.

*Cyngorion i Wella Llosg Tân, neu Goferwad*

1. Cais Ddail Troed yr Ebol, Top yr Ysgaw, a Chedor y Wrach, gwasg allan eu Sudd, a berwa ef gydag ychydig Floneg, Gwêr Maharen, a Chŵyr Gwenyn, nes y byddont yn enaint, ac yna eneinia'r llosg âg ef.

2. Cais Ysgaw Mair, gwasg allan eu Sudd, a berwa efe gyda Gwêr Maharen a Chŵyr Gwenyn, yna bydd gyda thi enaint rhagorol at losg tân.

3. Cais Ddail Tafod y Ci, gwasg allan eu Sudd, a berwa mewn Saim cig Moch, ac eneinia y man llosgedig âg ef.

4. Cais Ddail Iorwg, berwa hwy mewn Gwin Gwyn, yna badda y clwyf âg ef.

5. Mae Gwreiddiau Elestr, wedi eu berwi mewn Bloneg Mochyn, ac eneinio y man poenus ag ef, yn beth da iawn.

6. Cais y Berthlys, gwasg allan eu Sudd, ac eneinia y man poenus âg ef.

7. Cais Ddail Llydan y Ffordd, a Dail Pubur y Fagwyr, gwasg allan eu Sudd, ac eneinia y man llosgedig âg ef.

8. Cais Wêr Maharen neu Ddafad, Dom Defaid, a Rhisgl Glâs yr Ysgaw, berwa y rhai hyn nes y byddont yn enaint, yna eneinia y man poenus âg ef, yr hyn fydd yn dda iawn.

Y mae Sudd Winwyn cochion yn dda iawn i olchi llosg.

10. Cais Galchen, a rho hi i sefyll mewn *Salad Oil*, a thyn hi ymaith cyn y gwasgaro, a gwna hi yn bowdr, a chymmysg âg Olew Rhosyn cochion, nes y byddont yn enaint, yna eneinia y llosgiad.

11. Cais Bysgod, ffria hwy gydag Ymenyn heb Halen, mewn padell, ac arllwys y toddion ar ddwr oer i ryw ddisgl, yna bydd gyda thi enaint rhagorol at un math o losgiad.

12. Cais Olew Hâd Llin, a Hyfen Llaeth, cymmysg hwy gyda'u gilydd, a gwlych liain ynddo, a dod ef wrth y clwyf: hefyd, y mae Olew Hâd Llin a Melyn Wyau, yn dda iawn.

19. Cais Ddail Llydan y Ffordd, Dom Gwyddau, ac ychydig Blwm Coch, berwa hwy gydag Ymenyn heb Halen, Gwêr Defaid, a Chwyr Gwenyn; hidla hwy trwy liain yna bydd gyda thi enaint rhagorol at un math o losgiad.

14. Cais Risgl y Pren Llwyfen, berwa ychydig o hono mewn dwr, ar dân araf dros awr neu ddwy, yna tyn ef ymaith, a gâd iddo oeri, ac ar ol hyny cymmer yr hyn a fydd ar wyneb y dwr, a da iawn yw at un math o losgiad.

15. Os na fydd gyda thi y pethau a ragddywed-

wyd, cais gloronen, *(potatoe)* a dod hi wrth y llosg nes eu cael.

*Congorion i Wella*'r *Crach a'r Crafu.*

1. Cais Mantell Mair, gwasg allan eu Sudd, berwa ef gyda Mêl ac ychydig o Ferdigras, yna eneinia dy hun ag ef.

2. Os bydd natur y crafu arnat, cais Risglyn isaf y Pren Melyn, berwa ef mewn Gwin Gwyn, ac yf beint o hono bob boreu.

3. Cais Wreiddiau Suran yr Yd, a Wy, berwa hwy mewn Finigar, a golch dy hun âg ef.

4. Y mae Brigau y Coed Hops wedi eu berwi mewn cwrw, ac ychydig Driagl ynddo, yna yf o hono o ddeutu peint yn y boreu. Y mae yn dda iawn i buro'r gwaed, ac i ryddhau'r corff

5. Cais y Meryw, llosg hwy, a chadw eu Lludw, a berwa ef mewn Maidd, a golch dy hun âg ef.

6. Cymmer Lwyn Cotymog, berwa hwy mewn Llaeth newydd ei odro, a golch dy hun ag ef, pa un ai crach neu grafu fydd arnat, a chymmer y pethau a ddywedwyd yn y pedwerydd cyngor, yna iach a fyddi.

7. Cais *Spearmint*, gwasg allan eu Sudd, a chymmysg ef gyda Dwr a Mêl, a golch ben crachog neu gorff a fydd y crafu arno, ag ef.

8. Mae Gwreiddiau a Dail Danadl, wedi gwasgu eu Sudd allan, a golchi yr un a fo â'r crafu arno ag ef, yn dda iawn.

9. Cais Lysiau'r Pared, gwasg allan eu Sudd, a chymmysg ef âg Olew Rhosys cochion, yna eneinia dy gorff âg ef.

10. Cais Riw, gwasg allan eu Sudd, a chymmysg ef ag ychydig Halen a Mêl, ac eneinia dy gorff âg ef.

11. Cais Safin, a sych hwy fel y galli eu gwneud yn bowdr, a chymmysg ef gydag ychydig Fêl, fel y bo yn enaint, yna eneinia dy gorff ag ef.

12. Cais Wreiddiau'r Bengaled, berwa hwynt mewn Maidd, ac yf ef dros ddeugain diwrnod.

13. Cais Triagl y Moch, gwasg allan eu Sudd, a chymmysg ef â Finigar, yna golch y pen crachog àg ef.

14. Cais Fran Gwenith, rho ef mewn Finigar, ac ar ol hyny dod ef mewn lliain, yna rhwbia y man crachog neu grafog ag ef.

15. Cais werth ceiniog o Fflwr Brwmstan, a rhana hwn yn bedair rhan, a chymmer raniad o hono gyd â pheint o Laeth wedi ei ferwi, bob boreu.

16. Cais werth ceiniog o Olew Bays, a gwerth ceiniog o *Frankincense* wedi ei falu, a chymmysg hwn â'r Olew, yna eneinia y lle y bo y crafu arnat.

*Cynghorion at wella'r Gwinegau.*

1. Berwa hên Ddiod, nes ei fod yn dew, a gwna blastr o hono, a dod ef ar ledr wrth y man poenus.

2. Cais Lysiau'r Din, gwasg allan eu sudd, a chymmysg hwn a hanner cymaint o Ddwr y bywyd, yna eneinia y man poenus.

3. Cais Had Ysgall Bendigaid, gwna hwy yn bowdr, a chymer un *dram* o hono gyda Gwin, nos a boreu; a da yw hefyd rhag y Gwayw, a phoen yn y Bola.

4. Y mae *Venice* Triagl yn dda i roddi ef yn blastr wrth y man poenus, a gollwng gwaed os na fydd yn rhy oer.

5. Cais Fustl Tarw, berwa ef gyda Finigar Gwin Gwyn, a Dwr y Bywyd, yr un faint o'r tri, a gad iddynt ferwi nes y byddont yn dew, a chofia ei adael i oeri, yna rho ef yn blastr wrth y man poenus.

6. Cais Ddanadl poethion, a rhwbia y man poenus â hwy, nes y bo dy groen wedi codi, gwna hyn wrth dy fod yn myned i'r gwely, a thwym wlanen, a dod hi mor boeth ag y galli ei dioddef wrth y codiad.

7. Cais Esgyrn Clyniau a Choesau Ceffyl, briwia hwy yn fân, a dod hwynt i ferwi, a gad iddynt ferwi digon, fel y gall y Mêr ddyfod allan, ac â'r brasder a fydd ar wyneb y dwr, eneinia y man [po]enus.

*Cynghorion at wella Doluriau oddi Fewn ac Allan.*

1. Os byddi oddi fewn yn dost trwy gael cwympiadau neu ergydion cais y Gwyddlwyn, berwa hwy mewn dwr, ac yf beint o hono nos a boreu; neu sych y llysieuyn, a gwna ef yn bowdr, a chymer ûn *dram* o hono gyda Gwin Gwyn; ac os bydd clwyf arnat oddi allan, gwasg ei sudd arno; neu gwna enaint o hono trwy ei ferwi gyda Bloneg a Gwer Mabaren.

2. Cais Ddail Cedor y Wrach, gwasg allan eu sudd, a berwa ef gyda ychydig o Gwyr Gwenyn, a hên Floneg, yna bydd gyda thi enaint da i eneinio y man poenus.

3. Cais Wreiddau Elestr Gwyn, a Dail Llydan y Ffordd, berwa hwynt mewn hên Floneg, hidla hwy trwy liain, a thrwy hyn, fydd gyda thi enaint rhagorol.

4. Cais Mintys y Gath, berwa hwy mewn Dwr a Mêl, nes y byddont wedi berwi eu ffrwyth allan, a hidla hwynt trwy liain, a badda dy hun ag ef.

5. Cais Droed y Gywen, gwasg allan eu sudd, a chymmysg ef âg olew Rhosys cochion, yna eneinia y man dolurus.

6. Cais Barf y Gwr hên, berwa hwy mewn Gwin Gwyn, yna yf wydraid o hono ddwywaith yn y dydd os byddi wedi cael dy ddolurio oddi fewn; neu os allan, badda y clwyf â'r Gwin.

7. Cais Wreiddiau a Dail Arianllys, gwasg allan eu sudd, yna eneinia y man dolurus âg ef; neu berwa hwy mewn Finigar, a badda y man dolurus â hwy.

8. Cais Riw'r Gerddi, gwna enaint a'u sudd, Olew Rhosys a Finigar, ac eneinia y man poenus âg ef

9. Cais Sads, Rhosys Mair, a Dail Llydan y Ffordd, berwa hwy mewn Finigar, a rho ychydig o Fêl ac Alwm ynddo; y mae hwn yn enaint da i eneinio clwyf, ac i attal y dolur mewn Genau.

10. Cais Lyriaid llymion, gwasg allan eu sudd, ac eneinia y man poenus ag ef; neu gwna bowdr o honynt, a dod ef wrth y clwyf.

11. Cais Ddail y Fendigaid, neu Ddail y Twrch, pwnia hwy a dod hwynt wrth y man dolurus.
12. Y mae Lludw Siwdr-mwdr, yn dda iawn at sychu clwyf.
13. Cais Sudd Triagl y Moch, cymmysg ef gyda Bloneg Mochyn, Gwer Maharen, a Chwyr Gwenyn, ac felly bydd gyda thi enaint da at eneinio y man dolurus.
14. Cais Wreiddiau a Dail Byscdd cochion, a Llydan y Ffordd, berwa mewn ymenyn heb halen, a hên Fluneg, yna bydd gyda ti enaint da at y clwy.
15. Cais Gwyr Gwenyn, Gwer Maharen, Ystor Melyn, Ffroenau'r Defaid, a Fenus Turbant, pedwar wns o bob un, a chymmsg heint a hanner o Olew yr Olewydd, a berwa hwy ar dân araf, ac ar ol hyny ti elli eneinio y clwyf âg ef.
16. Cais Wreiddiau Cwmffrey, Dail Llydan y Ffordd, a Llysiau'r Waedling, dyrnaid o bob un, pwnia hwy yn fân, a berwa hwynt mewn cwart o Olew Had Llin, ac ychydig Win, berwa hwy nes y bo y Gwin wedi berwi i gyd, a hidla ef trwy liain, a rho ynddo tra byddo yn dwym dau wns o Fêl, dau Felyn Wy, a dau wns o Durpantine, yna dod ef wrth y clwyf.
17. Cais bwys tair chwe cheiniog o Alwm wedi ei falu, hanner wns o Fêl pur, hanner wns o Wêr Buwch Hydd, Melyn Wy, ac ychydig Durpantine, cymmysg y rhai hyn i gyd gyda'u gilydd, yna bydd gyda ti enaint rhagorol at y clwyf.
18. Cais Saim du oddiwrth Droell Certwyn; y mae hwn yn eli da at dy glwyf.

*Cyngorion at wella'r Gwaew.* (Stitch.)

1. Cais Ymenyn, Dwr y Bywyd, a Bustl Eidion, gwna enaint o honynt, ac eneinia y man poenus ddwy waith y dydd.
2. Cais Ddail Cawlen, (*cabbage*) poetha hwy rhwng dwy ddysgl; a rho hwynt mor boethed ag y galli eu dioddef wrth dy ochr.
3. Cais Gamamil, poetha hwy ar lechfaen, a

dod hwynt mor boethed ag y galli eu dioddef wrth dy ochr boenus; neu, gwna yr un modd a Cheirch.

4. Cais Gribau Saint Ffraid, berwa hwy mewn Gwin Gwyn, ac yf wydraid o hono nos a boreu.

5. Cais Frigau Danadl, gwasg allan eu Sudd, a berwa ef gyda hên Floneg, ac felly fe fydd gyda ti enaint at eneinio y man poenus; da iawn yw ef i iro y gwinegau a rhyw boen arall.

6. Cais Ddail, Blodau, a Hadau, Moron y maes, berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, ac yf wydraid o hono nos a boreu; da iawn ydyw i dori gwynt neu gael rhyddid dwr.

7. Cais Wreiddiau y March Alan, gwasg allan eu Sudd, cymmysg ef gyda chymmaint arall o Siwgr, a chymmer lwyaid o hono nos a boreu; y mae yn dda hefyd at ystymog oerllyd.

8. Cais Sads, berwa hwynt mewn gwin gwyn, a dal dy ochr uwch ben yr anwedd, ac ar ol iddo oeri ychydig, dod y Sads mor boethed ag y gelli eu dioddef wrth dy ochr.

9. Cais Lysiau'r Cadwgan, berwa hwynt mewn dwr ffynon, ac yf beint ar y tro.

10. Cais un *dram* o bowdr Llysiau'r Angel, a chymmer ef gyda gwin, neu rhyw wlybaniaeth arall. Cofia ollwng gwaed o'th fraich, os bydd yn dywydd.

*Cyngorion at wella Briwiadau, oddifewn ac allan.*

1. Cais Dafod y Neidr, a Rhawn y March, gwasg allan eu sudd, ac yf lwyaid o hono nos a boreu.

2. Cais Lysiau'r Gerwn, berwa hwynt mewn gwin neu ddwr ffynon, ac yf beint o hono nos a boreu; neu, cymmer lwyaid ddwy waith y dydd o'u Sudd.

3. Cais Nele, berwa hwy mewn gwin gwyn, ac os byddi wedi cael dy friwio oddifewn, cymmer wydraid o hono nos a boreu, neu os allan, dod ef wrth y clwyf mor boethed ag y gelli ei ddioddef.

4. Cais Briw'r March, berwa hwy mewn Gwin Gwyn, neu Ddwr; a chais un *dram* o bowdr Bloneg

y Ddaear, a dod ef mewn gwydraid o'r Gwin neu'r Dwr, ac yf hwn ddwy waith y dydd; ac os bydd y briw oddi allan, eneinia ef a'u sudd.

5. Cais hanner wns o Halen, a Throed yr Ehedydd, a thri wns o Fêl, berwa y rhai hyn gyda'u gilydd dros ychydig amser, yna eneinia y man poenus âg ef.

6. Cais y Gwyddlwyn, gwasg allan eu sudd, a gwlych liain ynddo, a dod ef wrth y clwyf; a da iawn yw os byddi wedi cael ergyd ar dy siol.

7. Cais Dansi, a Thansi Gwylltion, berwa hwynt mewn Dwr a Halen, ac yf hanner peint ar y tro.

8. Cais Ddail Derw, gwna hwynt yn bowdr, a chymmysg ef gyda ychydig o Finigar, a dod ef wrth y briw; neu berwa Dop yr Iorwg mewn Gwin, nes y byddont yn dyner, a rho hwy fel plastr wrth y clwyf.

9. Os bydd clais ar y briw, cais Sudd Rhiw, a Mêl yn gymmysgedig, ac eneinia y man poenus âg ef; neu, peth da yw Bloneg Asen i iro'r clwyf: neu Gaws Newydd heb Halen mewn Mêl, a'i roi ef wrth y clwyf.

10. Peth da iawn i ddyn yfed Dwr ffynon wedi cael cwymp, neu gymmeryd un *dram* o Bowdr Saint Ffraid.

11. Cais Fran Gwenith, Halen, a Mêl, cymmysg hwy gyda'u gilydd, a dod ef yn blastr wrth y clwyf; neu, Sudd Rhuddugl a Mêl yn gymmysgedig, sydd dda i roi wrth y clwyf.

12. Os byth dy fysedd a'th ewinedd wedi cael eu briwio, cais Winwyn, a Sudd Haidd newydd hadu, cymmysg hwy gyda'u gilydd, a dod hwy wrth y clwyf; neu, cais Had Mint Gwylltion, cymmysg hwy gyda Mêl, ac ychydig o Olew Llin, a rho hwy wrth y clwyf.

13. Cais bwys o Wreiddiau'r March Alan, pedwar wns o Flawd Ffa, dau wns o Gamamil, tri wns o Ymenyn, ac un wns o Sudd Wermod, a Throed yr Ehedydd, rhodda hwy i gyd gyda'u gilydd i ferwi, ac felly fe fydd gyda ti bwltys i roddi wrth y clwyf.

14. Cais hanner dyrnaid o Gamamil a Bran Gwenith, berwa hwy mewn Gwin gwyn; ac wedi iddynt ferwi, rho bedwar wns o fel ynddo, a hidla ef trwy liain, yna fe fydd gyda ti enaint at y clwyf.

15. Cais hanner pwys o Durpantine, berwa ychydig arno, a hidla ef, a dod ef ar y tân eilwaith i ferwi gyda hanner pwys o Finigar; rho fe ar y tân y drydedd waith, ond ychwanega ato un wns a hanner o Gŵyr gwenyn, ac un wns o bowdr y Llysieuyn Nele, yna hidla ef trwy liain, ac eneinia dy hun gyda'r enaint hwn a Llaeth Asen, neu Fenyw.

16. Cais ddail Margeri, gwna bowdr o honynt, a chymmysg ef â mêl; neu, fe wna Sudd yr un Llysieuyn â mêl, yr un fath, ac eneinio y clwyf âg ef.

17. Cais Grafion Rhuddygl, berwa hwy mewn mêl, yna eneinia y clwyf; neu cais Sudd Cnau'r Ddaear, cymmysg ef â mêl, a gwna yr un modd ag y dywedwyd.

18. Os bydd dy Asenau wedi tori, cais Ysgyfaint Hwrdd, a rho ef wrth y mannau poenus; neu, cais Ludw Mwydion y Ddaear, cymmysg ef âg Olew Rhosys, a gosod ef fel plastr wrth yr asenau. Os wedi briwio dy asenau a fyddi, eneinia hwy â halen wedi ei doddi mewn Finigar.

19. Y mae *Spirits of Wine*, Camphyr, ac *Oil of Turpertine*, yn gymmysgedig, yn dda iawn i eneinio amryw friwiau.

### *Cyngorion rhag Poen mewn Cefn, &c.*

1. Cais Gribau Saint Ffraid, berwa hwy mewn Gwin gwyn neu ddwr ffynnon, ac yf ef pan y bo arnat syched.

2. Cais un dram o bowdr Banadl, a chymmer ef gyda rhyw wlybanaieth; y mae yn dda iawn at ryddhau'r corff, &c.

3. Y mae yfed Te *Dill* yn dda iawn i laesu'r poen yn yr arffed, ac i rwymo'r corff os bydd yn rhydd.

4. Cais Wreiddiau y Môr Gelyn, berwa hwynt mewn Gwin gwyn, ac yf wydraid o hono, nos a

boreu; y mae hefyd yn llesiol at boen yn y cymalau, a Cholic y Gwynt.

5. Y mae Hâd Mwstardd wedi eu berwi mewn Gwin gwyn, ac i'r claf yfed o ddeutu gwydraid o hono ar y tro, yn dda iawn at boen yn yr ochrau.

6. Cais Hâd yr Ysgallen Fendigaid, gwna hwy yn bowdr, a chymmer un dram o hono gyda Gwin gwyn; y mae hwn yn dda at laesu'r poen yn yr ochrau, cefn, a'r bola.

*Cyngorion i attal Piso Gwaed.*

1. Cais Lysiau Troed y Dryw, berwa hwy mewn Gwin gwyn, ac yf hanner peint o hono bob nos a boreu.

2. Cais bowdr Cribau Saint Ffraid, cymmer un dram o hono gyda mêl ac ychydig siwgr, nos a boreu.

3. Cais Wreiddiau Cnau y Ddaear, gwna bowdr o honynt, a chymmer ef gyda mêl.

4. Cais ddyrnaid o Deim Gwyllt, berwa ef mewn Finigar Gwin gwyn, a gad ef yn y finigar dros naw neu ddeg diwrnod, yna yf dair llwyaid o hono; y mae yn dda iawn i attal po[illegible] yn gystal a phiso gwaed.

5. Cais Arlleg, pwnia hwy, a berwa hwy mewn dwr nes y byddont wedi difrodi i'r hanner, ac yf wydraid o hono nos a boreu.

6. Cais Wyau Ieir, gwna dwll yn eu top, fel y gelli dynnu allan y gwyn; wedi i ti wneuthur hyny, llanwa hwy i fynu gyda phubur wedi ei falu, yna gosod hwy ar y tân, a gwna bowdr o honynt, a chymmysg ef â Blawd Gwenith, a gwna yn deisenod, a bwyta ddwy o honynt yn y dydd.

7. Mae Hâd y Garddwy wedi eu powdro am ben gwin gwyn, yn dda iawn.

*Cyngorion at y Prudd-glwyfus, (Melancholy.)*

1. Cais ddail Clust yr Asen, rho hwynt i sefyll mewn Finigar dros bedair awr ar hugain, a chymmer hwynt allan, crasa hwy, gwna bowdr o hon-

ynt, a chymmer un *dram* o hwn gyda gwin, ddwy waith y dydd.

2. Cais Lysiau'r Cryman, berwa hwynt mewn gwin, ac yf wydraid o hono nos a boreu.

3. Cais Llysiau'r Ychen, berwa hwynt mewn diod, ac yf beint o hono nos a boreu.

4. Cais ddyrnaid o Fantell Mair, a Gwallt y Forwyn, berwa hwy mewn pedwar cwart o ddiod, a gâd iddynt ferwi nes y byddont wedi difrodi i'r hanner, yna yf hanner peint o hono nos a boreu.

5. Cais ddail a Brigau Bôm, a Chelyn y Mor, gwasg allan o honynt gymmaint a pheint o sudd, a chymmysg ef â pheint o fêl wedi ei ferwi, a chymmer lwyaid o hono nos a boreu.

6. Cais y Wermod wen, gwna bowdr o honynt, a chymmer un *dram* o hono gyda finigar a mêl ddwy waith y dydd.

7. Cais ddau ddyrnaid o ddail a brigau Derwen Caersalem, a berwa hwy mewn chwech cwart o ddiod, nes y byddont wedi difrodi i'r hanner, ac yf beint o hono nos a boreu.

8. Cais Dafol y Mor, berwa hwynt mewn llaeth, ac yf beint o hono ddwy waith y dydd.

9. Cais Lysiau'r Gwrda, gwasg allan eu sudd, a chymmer tua thri wns o hono yn gymmysgedig â siwgr bob boreu.

10. Cais y Brymllys, gwasg allan eu sudd, a chymmysg ef â mêl a halen, a chymmer ychydig o hono.

11. Cais March Redyn y Derw, berwa hwynt mewn maidd neu ddwr a mêl; llysieuyn da rhagorol yw hwn at bob anhwyldeb mewn pen.

12. Cais ddau ddyrnaid o ddail a gwreiddiau Tafod yr Hydd, berwa hwy mewn maidd, a chymmer beint o hono ddwy waith y dydd.

13. Cais ddail Cribau Saint Ffraid, berwa hwy mewn diod, a rho ychydig o sudd Wermod llwyd ynddo, yna cymmer hanner peint ar y tro.

*Cyngorion i rwystro Blew i dyfu.*

1. Ceisiwch Gelëod Ceffylau, llosgwch hwy nes

y byddont yn lludw, a chymmysgwch ef â finigar, fel y bydd yn enaint, yna eneiniwch y fan âg ef.

2. Ceisiwch Dom Cathau, cymmysgwch ef â finigar, ac eneiniwch y man âg ef.

*Cyngorion at Dyfu Gwallt neu Farf.*

1. Cais sudd Berwr Dwr, ac eneinia dy hun âg ef; neu berwa Wreiddiau Cedor y Wrach a Mwstardd mewn gwin gwyn, yna golch dy hun.

2. Cais Gnewull Cnau Ffrengig, pwnia hwy am ben bloneg hwch, ac eneinia y man âg ef; neu cno y cnewull, a dod hwy yn blastr wrth y man noeth.

3. Cais ddail Rhuddygl, a chymmaint arall o Fenyg y Cwn, berwa hwy mewn dwr nes y byddont yn dyner, a golch dy ben â'r dwr hyn.

4. Cais Mês y Derw, gwna hwy yn bowdr, a chymmysg ef â Bloneg, yna eneinia y man noeth.

5. Cais ddau neu dri dyrnaid o Siwdr Mwdr, llosg hwy nes y byddont yn lludw, a chymmysg ef âg Olew Rhuddygl, yna eneinia dy hun.

6. Cymmysg Saffrwm, Myr, Olew Almond, a Bloneg Baedd, gyda'u gilydd, ac eneinia dy hun.

*Cyngorion at Wella'r Pâs ar Blant.*

1. Cais Ddil, berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, yna dod hwy mewn lliain, a dal ef wrth anadl y plentyn i'r dyben iddo gael ei wynto.

2. Berwch Had Ffenigl mewn dwfr, a rhowch y dwfr i yfed i'r claf.

3. Ceisiwch Dafod yr Ehedydd, gwasgwch allan ei sudd, a rhowch beth o hono i'r plentyn yn ol ei rym.

4. Ceisiwch Mintys Mair, gwasgwch allan eu sudd, a rhowch i'r claf.

*Cyngorion at wella'r Cwlwm Gwythi, (cramp.)*

1. Cais Fochyn bychan, yr un tewa a elli gael, lladd ef, ac ysgaldia ef fel mochyn cyffredin arall, a thyn ymaith ei ymysgaroedd, a rho ynddo ddau

ddyrnaid o Ddanadl Poethion, dwy wns o Frwmstan, pedwar wy wedi eu tori, a phedair wns o Durpantine, ar ol hyn poba ef o flaen tan, a chadw ei saim, yna eneinia dy hun ag ef. Os methi gael mochyn bychan fe wna ci bach yr un tro.

*Cyngorion et wella'r Llwg, (scurvy.)*

1. Cais Berwr Dwfr a'r Môr Lwyau, berwa hwynt mewn Dwfr, ac yf ef yn fynych.
2. Cais Mintys y Meirch, berwa hwynt mewn Gwin Gwyn, neu Ddwfr ffynnon, yna yf ef ddwy waith y dydd.
3. Cais Mintys y Creigiau, berwa hwynt mewn Gwin neu Ddwfr, a rho ynddo ychydig siwgr i'w felysu, ac yf ef dair gwaith yn y dydd.
4. Cais Barf y Gwr Hen, berwa hwy mewn Gwin a Diod yn gymmysg, ac yf o hono beint nos a boreu dros wythnos neu naw diwrnod.

*Cyngorion i attal Cyfogiad, (retching.)*

1. Cais Gawl Gwyllt, berwa hwynt mewn dwfr, dod ychydig siwgr ynddo i'w felysu, ac yf beint o hono o flaen bwyd; y mae yn dda hefyd cyn myned i yfed Gwin neu Gwrw.
2. Y mae Diod Cherwlys, yn dda i ddyn a fo wedi gorlwytho ei hun, ei yfed y boreu a'r nos wrth fyned i'r gwely. Fe wnaiff Te o Bupyr Mint yr un defnydd.

*Cyngorion at wella'r Pylorynau ag sydd ar hyd y Gwyneb, (Pimples.)*

1. Cais Berwr Dwfr, pwnia hwy, a dod hwynt yn boeltys wrth dy wyneb, hefyd berwa'r dail mewn dwfr, yna golch dy hun âg ef pan y byddi yn myned i'r gwely.
2. Cais Gedor y Wrach, ac eneinia y pelorynau a'u sudd; a golch dy wyneb boreu tranoeth â'r dwfr a fo wedi ei berwi.
3. Cais Sudd Rhiw, ac eneinia dy hun âg ef y nos; a golch dy wyneb tranoeth a'r dwfr y maent wedi bod yn sefyll ynddo.

4. Cais Bengaled, gwasg allan eu sadd, a chymmysg ef âg ychydig siwgr, ac eneinia dy hun, a golch dy wyneb tranoeth a'r dwfr y maent wedi bod yn sefyll ynddo.

5. Cais Siwdr Mwdr, berwa hwynt mewn dwfr ffynnon a blawd haidd, a rho hwn yn blastr wrth dy wyneb y nos pan y byddi yn myned i'r gwely, a golch dy wyneb tranoeth a'u dwfr.

6. Cais Tansi Gwyllt, gwasg allan eu sudd, ac eneinia dy hun y nos âg ef, ac yn y boreu golch dy wyneb a'r dwfr y maent wedi bod yn sefyll ynddo.

7. Cais Sudd Chwerwlys, Berwr Dwfr, Cedor y Wrach, a Rhiw, cymmysg eu sudd gyda'u gilydd, yna eneinia dy hun.

*Cyngorion at Bereiddio Anadl Drewedig.*

1. Gwna De o sudd Mintys Mair, ac yf ef nos a boreu.

2. Cais Roses Mair, berwa hwynt mewn dwfr ffynnon, ac yf beint o hono nos a boreu.

3. Cais Sudd Cnau'r Ddaear, a chymmysg ef â mel, dwfr oddiar rhoses, a dwfr haidd, cymmer wydraid o hono y nos a'r boreu.

4. Cais Laeth Ysgall y Moch, berwa ef mewn Gwin Gwyn, hidla ef trwy liain, a chymmer dair llwyaid o hono y nos a'r boreu.

5. Y mae Ysgall y Caeau wedi ei berwi mewn Gwin Gwyn, yn dda iawn.

6. Y mae Te Wermod yn dda at anadl drewedig ac hefyd yn dda at glirio pob tawch drwg sydd oddi fewn i ddyn.

7. Cais yr Ysgallen Fendigaid, berwa beth o honynt mewn cawl, ac yf ef; neu cais eu gwreidd-iau, a gwna hwy yn bowdr, cymmysg ef â mel i ti ei fwyta, neu cymmer un *dram* o hono gyda Gwin Gwyn ddwy waith y dydd. Cno eu dail yn dy ben, ac i ti lyngcu eu sudd fe wnaiff yr un effaith.

*Cyngorion at Glefyd y Gareg, (Stone.)*

1. Cais had y Meddygyn, a had Cyngaw, crasa

hwy mewn ffwrn, ac ar ol hyny briwia hwynt yn lân. Cais bedair wns o bowdr dail derw, hanner pwys o Ffenigl y mor, a phump wns o'r Pren melyn, cymmysg y cyffeiriad hwn gyda'u gilydd, a chymmer gymmaint a saf ar chwe cheiniog o hono gyda gwydraid o Win Gwyn, cymmer hwn fel hyn dros dri neu bedwar boreu. Os na fydd natur y grafel arnat, cymmer lai o hono at y gareg.

2. Cais ddwfr Tom ychain yn mis Mai, a thor dair neu bedair rhuddygl yn ddarnau, a dod hwynt yn y dwfr mewn potel, a llenwa y botel i fynu a Gwin Gwyn, yna gad iddynt sefyll am noswaith. Cais ychydig o Sudd Mefus, ac Afal melyn hir, a chymmysg ef gyda y rhai sydd yn y botel, a chymmer hanner gwydraid o hono gyda chymmaint a alli ddodi ar rot o arian o'r Powdr ag a ddywedwyd yn y cyngor cyntaf. Y mae y cyngorion hyn yn anffaeledig. Os byddi yn chwenych cadw hwn gyda ti yn y ty, y mae'n ofynol arnat i dynu allan y gwin a'r rhuddygl o hono, a'u dodi hwy yn ol pan y byddi yn myned i'w cymmeryd.

*Cyngor rhag magu Llau.*

Cais y Maidd ag sydd yn rhedeg o'r caws pan y bo yn y wasg, cymmysg ef â Finigr, yna cymmer beth o hono nos a boreu dros wythnos.

*Cyngor at leihau Tewder dyn.*

Cais dair wns o Finigar, a thri dram o Bupyr, cymmysg hwy gyda'u gilydd, cymmer gymmaint a hyn bob tro dros wythnos, neu bythefnos; neu cais un dram o afal gronynog, cymmysg ef a finigar, dwfr, a mel, a chymmer hanner peint bob boreu.

*Cyngor at wella Cig y Dannedd a fydd wedi pydru.*

Cais Isop, berwa hwy mewn dwfr ffynnon, a golch dy ddannedd ag ef dair neu bedair gwaith y dydd.

*Cyngorion o ddangosiad y modd y mae i grynhoi y Llysiau.*

1. O'r dail dewiswch y rhai a fyddo yn fraslyd

ac yn suddlyd, ac na oddefwch i un math o rai na fyddo felly i fod gyda hwy, a thrwy hyn, fe fydd un dyrnaid yn gystal a deg.

2. Gwybyddwch mai nid yn yr un man y mae y llysiau i gyd yn tyfu; megys, Cribau St. Ffraid, y maent yn tyfu yn mysg y coed; a'r llysiau eraill yn gyffredin maent i'w cael mewn llefydd gwlybanaidd.

3. Nid yw dail llysiau a fyddo wedi hadu neu flodeuo, yn wych i'w crynhoi; ac y mae yr hadau a'r blodau yn rhagorach na'r dail, pan y byddant wedi myned felly. Chwi a ddylech ofalu yn wastad i grynhoi dail pob llysieuyn cyn ei fod yn dechreu hadu.

4. Sychwch y dail yn yr haul, a gofalwch na chafont wlaw, onide fe fydd eu rhinweddau wedi dystrywio.

*Dangosiad y modd i grynhoi Blodau y llysiau.*

Gofalwch yn wastad i grynhoi y blodau pan y byddont yn eu llawn ymddangosiad; ac na oddefwch iddynt golli eu llyw na'u gwynt ar ol i chwi eu crynhoi, o herwydd ni fyddant o un lles i chwi ar ol hyny, ond o niwed mawr i'r claf.

*Dangosiad i grynhoi yr Hadau.*

Gofalwch i'w cael pan y byddant yn addfed; a sychwch ychydig arnynt yn yr haul.

*Dangosiad i grynhoi y gwreiddiau.*

Dewisiwch y rhai na fyddo wedi pydru, a'r pryfed wedi dechreu eu bwyta, ond y rhai a fyddo yn ymddangos yn dda; nid y rhai rhy sych, nac hefyd y rhai llaith.

# ENWAU Y LLYSIAU

*Anadnabyddus i bob rhai, ac yn arferedig yn y llyfr hwn.*

---

Mantell Mair, mantell y cor, y feidiog läs, dail Robin, alehoof or ground ivy.
Pren ysgawen, elder tree
Tafod yr hedydd, llysiau'r hedydd, troed yr hedydd, cummin,
Ffunnell, ffenigl, fennel.
Cribau St. Ffraid, donnogen, llys dwyfawg, betony.
Llym y llygad, y ddilwydd felen, celendine.
Llygad y dydd, yr aspygan, sensigl, daisy.
Isop, hysop.
Cyngaf, cacamwci, cribau bleiddion, burdock.
Llysiau'r hudol, briw'r march, cas gan gythraul, vervain.
Mor ddanadl gwyn, llwyd y cwn, horehound.
Mint gwylltion, mintys y meirch, horsemint.
Derwen Gaersalem, wild germander, Jerusalem Oak.
Cedor y wrach, rhawn y march, horsetail, deadly nightshade.
Cawl gwyllt, wild coleworts.
Gwlydd, hen's bit, chick weed.
Llysiau'r din, arsesmart or culerage.
Coluddlys, pennyroyal.
Llysiau'r Angel, Llysiau'r ysgyfaint, angelica.
Marchalan, elicampane.
Dail troed yr ebol, ebol garn, alan bychan, colt's foot.
Pidin y gog, cala'r gog, cala'r mynach, wake robin.
Mintys y gath, mintys y mynydd, catmint or nep.
Cwmffreu, Llysiau'r cwlwm, great walwort, comfrey.
Gramandi, tormaen, hemlock, dropwort.
Benfelen, greulys, grounsel.
Lysiau'r hebog, gwalchlys, hawkweed.
Y doddedig rudd, rosa solis, sun den.
Llysiau'r afu, cynglenydd yr afon, liverwort.
Hocys, mallows.
March redyn y derw, polypody of the oak.
Cra'r gerddi, triagl y tlawd, garlick.
Llysiau Evan, llysiau llwyd, mugwort.
Cnau'r ddaear, earth nuts.
Rhosyn y mynydd, blodau'r brenin, peony.
Gwlydd Mair, gwyddlwyn, pimpernel, burnet.
Mintys y creigiau, wild marjoram.
Elestr, lily.
Cribau Mair, ladies' thistle or white thistle.
Alan mawr, dail tryfan, bugwort, butter bur.
Tafod y march, throatwort, bell flower.
Llysiau Mair Fadlen, sweet maudlin.
Porpin, purslain.
Llysiau'r panwyr, venuslip, sow thistle.

Llwynhidydd, ysgelenllys, penau'r gwyr, traeturiaid y bugeilydd, common cinquefoil, or five leaved grass, ribwort.
Triagl y moch, tormentil, serfoil.
Dail twrch, dail fendigaid, tutsan, park leaves.
Nele, St. John's wort.
Danhadlen farw, dead nettles.
Llysiau'r cywion, chickweed.
Llewyg yr iar, y bele, ffon y bugail, crys y brenin, ffa'r moch, henbean, sowbean.
Ysgallen fendigaid, blessed thistle.
Y gromandi, saxifrage, hemlock, dropwort.
Tafod yr hydd, hart's tongue.
Llysiau cadwgan, felarian, velarian.
Llwyn cottomiog, latant, lavender.
Bloneg y ddaiar, rhwymyn y coed, eirin gweion, grawn y perthi, paderau'r gath, y winwydden wen, pys y coed, briony, or wild nep.
Gwaed y gwyr, ysgaw Mair, ysgaw'r ddaiar, wallwort, or dane wort, dwarf elder.
Mor lwyau, llysiau'r llwy, scurvy grass.
Gyngron fychan, toad flax.
Milddail, llysiau gwaedling, milfoil, or thousand-leaved grass.
Llysiau'r bronau, wild wheat.
Bresych ben gron, colewort.
Clais, tamaid y diawl, devil's bit.
Afal gronynog, pomegranate.
Llwyd y ffordd, llwyd bonheddig, adafeddog, llysiau'r gynddaredd, cudwort, chaseweed.
Berw'r iar, canclwm, knotgrass, blood wort.
Llysiau'r chwain, fieawort.
Briweg y cerrig, llysiau'r murodd, pubyr y fagwyr, prick madam, wormgrass, or stone crop.
Mad felen, knapweed.
Clust y llygoden, mouse-ear.
Dail y melfed, y dewbanog, y banog hannerpan, tapr dunos, tapr Mair, sircyn y melinydd, clust y fuwch, clust y tarw, canwyll yr adar, mullein.
Persli y meirch, alexander, lovage.
Tafod y ci, tafod y bytheiad, hound's tongue.
Dryngal, Suran yr yd, sour dock.
Meryw, Juniper.
Arian gwion, arianllys, fluxwort, or lask wort, bastard.
Llyriaid llymion, llyriaid llyneu, dyfrllys, base horehound, wild sage, shepherd's pipe, pondweed.
Bysedd cochion, llwyn y teulaeth, ffiol y ffyrdd, foxglove.
Tafod y neidr, mis-shapen, adder's tongue.
Clust yr asen, liverwort.
Tafod yr ych, tafod y fuwch, borage, bugloss, ox-tongue.
Crafanc yr arth, troed yr arth, tafol y mor, bear's claw, or brank ursin.

# ENWAU LLYSIAU SYDD DDA AT WAHANOL GLEFYDAU.

---

*I oeri y gwaed pan y byddo yn rhy boeth.*

Lettice, porpin, bwltws, feioled, sanau y gog, ysgall y meirch mwsg y ddaiar.

*At oeri y Pen.*

Cedor y wrach, lettice. bwltws, poppy.

*At oeri y Brest.*

Feioled, poppy, dail troed yr ebol.

*At oeri y Galon.*

Suran y gog, bwltws, rhosys, feioled, rhisgl cnau ffrengig.

*At oeri yr Ystymog.*

Rhosys, feioled, porpin, cedor y wrach, y friwe

*At oeri yr Afu.*

Ysgall y meirch, cedor y wrach, porpin, bwltws.

*At oeri yr Arenau a'r Bledren.*

Ysgall y meirch, barf y gwr hen, llydan y ffordd, mefus, gwelltglas

*At oeri y Groth.*

Ysgall y meirch, lettice, bwltws, porpin, rhosys.

*Llysiau rhinweddol at wresogi pob man o'r corff.—Y Pen.*

Cribau St. Ffraid, margeri, gammil, ffenigl, mintys y gath, Elestr, rhosmair, briallu, llygad eglur.

*At y Brest.*

Gwallt y forwyn, cribau St. Ffraid, isop, llwyd y cwn, ysgallen fendigaid, y bengaled, bôm, tobacco, cwmffre.

*At yr Ystymog.*

Chwerwlys, pubyrmint, ffenigl, teim, gold mair.

*At y Galon.*

Cinamon, bôm, rhosmair.

*At yr Afu.*

Bustl y ddaiar, y chwerwlys, mintys y creigiau, tansi gwyllt, ffenigl.

*At y Spleen.*

Berwr dwr, chwerwlys, mintys y gath, bara'r hwch.

*At yr Arenau a'r Bledren.*

Dyned, tormaen, rhuddygl, paredlys, traeturiaid y bugeilydd, gwyddlwyn, marchalan.

*At y Groth.*

Llysiau Evan, safin, llysiau'r pwding, mintys y gath, alexander

*Ychydig o ddangosiadau am yr Olewon sydd gan y Meddygwyr.*

*At wresogi yr Ystymog.*—Oil of mint, wormwood, mastic, spikenard.

*At yr Afu.*—Oil of bitter almonds, wormwood, spikenard, mastic

*At y Spleen.*—Oil of capers, spike.

*At y Cymalau.*—Oil of spikenard, rue, nuts, nutmegs.

*At y Gwthi.*—Oil of pepper, euphorbium, elicampane, earth worms, marjoram, costmary, lovage.

*Olewon at oeri corff Dyn.*

Myrtles, quinces, roses.

*At y Brest.*—Violets, water lilies. Yr un rhai at yr Afu.

*At yr Arenau.*—Lettice, water lilies.

*At y Groth.*—Quinces, water lilies, myrtle, gourds.

*Olew at boethi y pen.*—Rosemary, betony, vervain.

*At oeri y pen.*—Fleabane, poppies, mandrakes.

*Olew at rwymo y corff.*—Wormwood, mints, matic, myrtles.

*At ei ryddhau.*—Dill, camomile.

*Olew at wneud i ddyn gysgu.*—Mandrakes, poppy, henbane, water lilies.

*Olew at dorri y garreg.*—Cidron seed, scorpions, cherry kernel.

DIWEDD.

T. Price, Argraffydd, Merthyr.

